# Sothach!

RHIF 10 GORFFENNAF - AWST 1989 PRIS 50 c



# Sothach!

8 RHES VICTORIA, BETHESDA,GWYNEDD
FFÔN: (0248) 600 578

# CYNNWYS



MOJO



DAVE DATBLYGU



HARRI GO FFES



GWEFRAU





CYHOEDDWYD GAN GWMNI CYTGORD CYF AC ARGRAFFWYD GAN O.JONES LLANGEFNI, YNYS MÔN.

# GOLYGYDDOL

Croeso i rifyn arbennig Gorffennaf / Awst o SOTHACH! Mae'r hanner blwyddyn a aeth heibio wedi bod yn un o'r mwya cynhyrchiol yn hanes y diwylliant pop a dylai hynny gyrraedd math o benllanw gyda nifer o gasetiau a recordiau'n cael eu rhyddhau erbyn y Steddfod yn Llanrwst. Mae'r Steddfod wedi bod yn ganolbwynt traddodiadol i'r sin bop o'r cychwyn. Lle arall gewch chi filoedd o Gymry ifanc mewn un lle a digonedd o gigs wedi eu paratoi ar eu cyfer i gyd o fewn un wythnos wallgo? Dydi hynny ddim yn beth drwg, wrth gwrs, ond mae'n bwysig cofio mai un wythnos ydi'r Steddfod a bod bywyd (a'r sin roc) yn mynd yn ei flaen weddill y flwyddyn hefyd. Mae'r gynulleidfa a'r potensial yna rownd y ril mewn llefydd fel Blaenau Ffestiniog, Caerfyrddin, Bargoed , Machynlleth, Wrecsam, ymhob man. Miloedd o bobl sydd ddim yn malio dim byd am Steddfod na sin roc Gymraeg. Mae rheini yno i'w hennill hefyd.

Ac, os oes gennych chi ddiddordeb mewn gwella'r sin roc, darllenwch ymlaen. Yn sgil y bygythiad i'r Sgrin Roc, yr unig ffynhonell wybodaeth gyfoes am y sin roc, sefydlodd Gwyn Jones, drymiwr y Maffia, Gymdeithas Cerddorion Cymraeg i warchod buddiannau'r byd roc. Cynhelir cyfarfod cyntaf y Gymdeithas yng Ngwesty'r Fictoria, Llanrwst am 3.00 p.m. ddydd Gwener wythnos y Steddfod. Mae croeso i aelodau grwpiau, trefnwyr, newyddiadurwyr a phawb sy'n frwd dros ddyfodol llewyrchus i ganu roc Cymraeg. Y gobaith yw y daw'r gymdeithas yn fforwm drafodaeth ar y ffordd ymlaen i ganu roc Cymraeg yn ogystal ag yn llais i warchod y sin. Welwn ni chi yno!

Mae'r rhan fwyaf o grwpiau a labeli wedi ymateb yn wych i'n catalog casetiau / recordiau - Diolch yn fawr iawn. Hoffem fodd bynnag bwysleisio ei bod yn holl bwysig i grwpiau a labeli nad ydynt wedi gyrru eu cynnyrch i ni gysylltu a ni ar unwaith. Nid unigolion yn unig sy'n defnyddio ein gwasanaeth catalog ond mae'r nifer o siopau sy'n archebu gennym ar gynnydd hefyd. Os yw"r system yn llwyddianus mae'n gyfle gwych i ddosbarthu pob record neu gaset annibynnol i holl siopau Cymraeg Cymru. Rhaid cael cydweithrediad y grwpiau a'r artistiaid i sicrhau hyn. Rydym bellach yn dosbarthu recordiau yn ogystal a chasetiau, cysylltwch ar unwaith os am fwy o fanylion.

Ydych chi eisiau dosbarthu SOTHACH! yn eich ysgol, clwb neu aelwyd leol? Os ydych yna mae SOTHACH! yn cynnig y cyfle i chi ennill £25 pob mis os gallwch ddosbarthu 15+ o gopiau o bob rhifyn. Nid yn unig cewch gyfle i ennill £25 ond hefyd fe gewch lawlyfr trefnu / dosbarthu, 10% oddi ar bris unrhyw gasetiau sydd yng nghatalog Cytgord, dau docyn rhad i bob noson arbennig a drefnir gan SOTHACH! a 10 ceiniog o gomisiwn ar bob copi o SOTHACH! a werthir! Oes gennych chi ddiddordeb yn y cynnig hwn? Anfonwch y ffurflen sydd yn ymddangos yn y rhifyn hwn mor fuan ag sy'n bosib.

Os nad oes diddordeb gennych mewn dosbarthu SOTHACH! yna beth am danysgrifio i'ch hoff gylchgrawn roc. Ar gefn y ffurflen ddosbarthu mae cyfle i chi danysgrifio am bris rhesymol dros ben. Gwnewch yn siwr o'ch "Sothach!'. Yn y rhifyn nesaf bydd cyfweliadau ac erthyglau gyda'r canlynol :

ALED SION
EDRYCH AM JIWLIA
HEFIN HUWS
MAE FI GYN
TAITH BOB DELYN YN LLYDAW

hefyd fe fydd ADOLYGIADAU o'r cynnyrch diweddaraf, SIART Y MIS a llawer mwy felly sicrhewch eich copi nesa nawr.

Hoffem ddiolch yn fawr iawn i bawb a oedd mor gefnogol i'r ymgyrch i achub 'Y SGRIN ROC'. Derbynniwyd nifer anhygoel o lythyrau ac roedd yr ymateb cadarnhaol yn allweddol i achub 'Y SGRIN ROC' sydd yn ymddangos yn ddyddiol ar SBECTEL TUDALEN 446.
Diolch yn fawr iawn.

Hwyl a mwynhewch

Y PANEL GOLYGYDDOL

# NEWYDDION

Mae ANEURIN TOMOS wedi ei benodi'n rheolwr ar FFA COFFI PAWB a'r gobaith yw y bydd hyn yn fodd i roi mwy o drefn ar y rafin roc stars yma. Dywedodd Gruff Rhys, canwr y FFA bod Aneurin yn: "llawer mwy cyfrifol na ni." Dywedodd ANEURIN wrthym ei fod am: "roi cic iawn i fyny eu tinau nhw."
Os nad ydi hynny'n ddigon i siglo seiliau'r sin roc i'w gwaelodion, daeth y newyddion syfrdanol i'r fei yn ddiweddar bod basydd FFA COFFI, DEWI EMLYN, yn bwriadu mynd i America cyn hir i wneud gwaith cyfrinachol ar yr amgylchedd ym Mhrifysgol Pennsylvania. Mae na gynlluniau ar y gweill i weddill y band fynd i chwarae yno.Hot dog!
Yn sgil ymadawiad DEWI, bydd y band yn canolbwyntio ar waith stiwdio y flwyddyn nesa. Maen nhw'n gobeithio recordio LP yn dilyn llwyddiant eu sengl 12" ddiweddar ond bydd hon dipyn yn wahanol i'r FFA COFFI PAWB dan ni wedi arfer a nhw achos bydd y band yn manteisio ar y cyfle i arbrofi a chreu swn esoterig, rafinaidd, cŵl hollol newydd. Blydi 'el.

Bydd PERERIN, un o'n grwpiau mwya hir-hoedlog, yn dirwyn i ben yn yr hydref mewn gwyl werin ym Mherranporth, Cernyw. Ond dydi'r stori ddim drosodd o bell ffordd achos bydd na grŵp newydd yn cychwyn yn eu sgil fel ffenics laff gwerin o'r llwch. Mae'r grŵp newydd, Y MONIARS, wedi cychwyn ymarfer yn barod a bydd hon yn bartneriaeth laff gwerin arbennig. Aelodau'r band fydd Arfon Wyn (gitâr, llais), Einion Bererin (bodhran), Dyfed Edwards (gitâr, llais), Pete Walton (bâs), Huw Roberts ( acordion, ffidil), Sean Hughes (ffidil), Huw Smith (allweddau), Chris Ellis (gitâr acwstig) ac Owain Huws (drymiau). Bydd y MONIARS yn cychwyn gigio ym mis Tachwedd.

## SIART CYTGORD 20 UCHA'R MIS

| | | |
|---|---|---|
| 1. | SOBIN A'R SMAELIAID | (2) |
| 2. | MOJO ac OWAIN GWILYM | (-) |
| 3. | U THANT | (18) |
| 4. | GARY A SUSAN | (-) |
| 5. | BOB DELYN A'R EBILLION | (16) |
| 6. | DAFYDD IWAN | (3) |
| 7. | CRUMBLOWERS | (14) |
| 8. | ANHREFN | (1) |
| 9. | FFA COFFI PAWB | (-) |
| 10. | LETYS SEICODELIG | (20) |
| 11. | JESS | (-) |
| 12. | MABSANT | (-) |
| 13. | DYFED EDWARDS | (12) |
| 14. | TERRY WAITE AR ASID | (-) |
| 15. | BYD AFIACH | (19) |
| 16. | PERERIN | (-) |
| 17. | ARFER ANFAD | (-) |
| 18. | FFLAPS | (6) |
| 19. | Y CYRFF | (-) |
| 20. | AIL GYFNOD | (-) |

# FFLACHIADAU AR Y BLANED ROC



**Gyda recordiau a chasetiau gan Canol Caled, Jess, Aled Sion, Ail Symudiad a chaset amlgyfrannog Plaid Cymru Caerfyrddin, "Gwyrdd", mae FFLACH yn ôl yn y maes pop. Bu SOTHACH! yn holi Richard a Wyn Jones, sylfaenwyr y cwmni a chalon AIL SYMUDIAD ers deng mlynedd bellach am eu hynt a'u helynt.**

**Mae FFLACH wedi bod yn cyhoeddi mwy o stwff roc yn ddiweddar fel JESS, CANOL CALED a'r caset amlgyfrannog, "Gwyrdd", gan Blaid Cymru, Caerfyrddin.**

**RICHARD:** Plaid Cymru oedd wedi cysylltu â ni ynglŷn â "Gwyrdd". Ni'n bles iawn 'da'r grwpie ar y tap. Mae'n syniad da cael compilation caset. Mae'n bwysig cadw in touch gyda'r byd roc er mai pethe canol y ffordd sy'n gwerthu orau. Dyle'r gwerthiant roc fod lan 'da'r stwff canol y ffordd achos mae digon o dalent a grwpie da i gael. Mae agwedd anffodus gyda pobl dros 25 eu bod yn rhy hen i brynu recordie roc a mynd i gyngherdde. Roc fydd fy hoff gerddoriaeth i am byth. Ni'n gobeithio gwneud mwy yn y maes yn y dyfodol ond mae'n rhaid gwneud pob math o gerddoriaeth mewn busnes.

**Mae'n debyg mai "Gwyrdd" yw'r tro cynta i blaid wleidyddol gyhoeddi caset neu record.**

**RICHARD:** Cyhoeddiad ar y cyd gyda Fflach yw e. Nhw'n rhyddhau e a ninne'n recordio fe ond bod Fflach yn gwerthu rhywfaint o'r casetie.

**Oes na obaith am un arall?**

**RICHARD:** Ie, bydde'n syniad. Falle bydd Elwyn Jones (Aaarrgh!!!) yn ffonio lan nawr!

**Sut aeth hi yn y stiwdio?**

**WYN:** Roedd hi'n hwylus iawn gweithio 'da'r grwpie yn y stiwdio, pob un yn cydweithio'n dda gyda'r cwmni. Mae digon o amrywiaeth ar y tap. Mae U Thant yn wahanol i Datblygu ac mae'r Anhrefn yn wahanol i Jess.

**Wyt ti'n meddwl ei bod hi'n bosib i label roc Cymraeg lwyddo?**

**RICHARD:** Mae'n bosib os ei di tu fas i Gymru. Ni am hala promotion discs i bob gwlad yn y byd, Japan, Canada, USA, yr Almaen, Ffrainc. Mae grwpiae Cymraeg cystal ag unrhyw beth yn unrhyw wlad felly ni'n pwsho roc Cymraeg dros y byd. Mae diddordeb mewn "World Music" nawr. Mae llwyfan i grwpie Cymraeg yn Affrica neu yn unrhywle.

**Eto, mae na wendidau amlwg hefyd.**

**RICHARD:** Mae isie mwy o gydweithio rhwng cwmniau a grwpie Cymraeg a dim meddwl amdano fel cystadleuaeth ond fel ffordd bositif o gyflwyno cerddoriaeth i'r byd.

**Sut mae pethau'n siapio yn Aberteifi ar hyn o bryd?**

**RICHARD:** Bydde'n neis tase mwy o grwpie fel Canol Caled a Jess yn cychwyn yn yr ardal. Mae pethe'n eitha tawel ar hyn o bryd.

**Mae hi wedi bod yn ardal gynhyrchiol yn y gorffennol.**

**RICHARD:** Ail Symudiad oedd y grŵp Cymraeg cynta yn Aberteifi. Yna daeth Rocyn, Diawled, Malcolm Neon, Edward H Boring.

**Beth am y stiwdio ei hun?**

**RICHARD:** Mae'r stiwdio wedi tyfu o fod yn un 8 trac mewn festri capel i fod yn stiwdio 24 trac. Wyn yw'r cynhyrchydd a'r peiriannydd ond mae croeso i artistiaid ddod â'u cynhyrchydd eu hunain. Mae fe ar gael i grwpie ei logi os 'yn nhw moyn. Allen ni gynnig deal casetie neu sengl iddyn nhw. Rhaid i'r grŵp werthu rhywfaint o'r nifer. Os 'yn nhw'n derbyn y deal caset neu sengl, fe gant recordio am ddim. Sdim yr un pressure wedyn yn y stiwdio i orffen ar amser arbennig.

**Sut agwedd fyddi di, Wyn, yn ei gymryd yn y stiwdio?**

**WYN:** Fi'n licio creu naws ymlaclyd, hapus yn y stiwdio. Ni ddim yn gwylio'r cloc. Ni'n cadw grwpie mlaen os 'yn nhw moyn amser i drefnu caneuon. Ni moyn helpu grwp cymaint ag y gallwn ni i greu y sŵn maen nhw isie creu. Byddai'n ddigon hawdd imi greu y sŵn fi isie ond mae'n well 'da fi helpu nhw i gael y sŵn maen nhw isie. 'Na'i ddim gwasgu arnyn nhw i iwsio'r sŵn fi'n licio. Gei di amrywiaeth wedyn. Ei di ddim i rut.

**Unrhyw beth arbennig ar y gweill?**

**WYN:** Rhwng y Steddfod a'r Dolig byddwn yn creu sŵn newydd i'r sin Gymraeg. Dance backing tracks. Sŵn mwy modern. Yna byddwn yn pigo'r canwr neu'r gantores ar gyfer y backing trac. Project arall yw e. Os yw'r stiwdio'n dawel, byddwn yn defnyddio'r amser.

**Sut mae pethau hefo Ail Symudiad ar y foment?**

**RICHARD:** Y syndod yw bod y grŵp yn dal i deimlo'n ffres ar ôl deg mlynedd.●

**Cysylltwch a Fflach ar (0239) 74508.**

# NOSON WOBRWYO

# Y SGRIN ROC

## NOS SADWRN, RHAGFYR 16
## NEUADD J.P. BANGOR

FFURFLEN BLEIDLEISIO YN Y RHIFYN HWN!

ADFRAWD, AIL SYMUDIAD, AIL GYFNOD, ALED SION, AMSER ATEB, AM DWRW, AMDDIFFYN, ANGLADD HUWCIN, ANHREFN, ANEIRIN TOMOS, ARFON WYN, ARFER ANFAD, AR LOG, BOB DELYN A'R EBILLION, BOL, BILLY CLIN, BLAENAU Y, BLODAU CYNTEFIG, BOFF FRANK BOUGH, BREUDDWYDION MEDDWOL, BRODYR, BRON A METHU, BWCHADANAS, BWYD LLWYD, BYD AFIACH, CACHU BOIS, CALIMERO, CANOL CALED, CATRAETH, CEDWYN ALED, CEFFYL PREN, CELFI CAM, CLOCHAN, CWRW BACH, COFION RALGEX, CYRFF, CYNGHORWYR, CRETYN, 69, CHWYLDRO, CELT, CRUMBLOWERS, DAFYDD PIERCE, DAIL TE PAWB, DATBLYGU, DACW MAM YN DWAD, DEFAID, DECHRAU CANU DECHRAU CANMOL, DELWYN SION, DILYN Y DALL, DEREC BROWN, DAFYDD IWAN, DWRN, DYN AR Y DRWS, DYFED EDWARDS, DYLAN DAVIES A'R CRIW, DYN TOLWND, DYLANWAD MOESOL, EDRYCH AM JIWLIA, EIRIN PERYGLUS, ERYR WEN, FFA COFFI PAWB, FFLAPS, GERAINT GRIFFITHS, GERAINT JARMAN, GERAINT LOVGREEN A'R ENW DA, GWEFRAU, GWRTHEYRN, GWRTHOD YR AFAL, HARRI GO FFES, HEFIN HUWS A'R BAND, HIN DEG, HUW CHISWELL, HUW G. A D. J. WILLIAMS, H3, JIM O'ROURKE, JECSYN FFEIF, JESS, JOHN GRINDELL, LETYS SEICADELIG, MAE FI GYN, LLWYBR LLAETHOG, MABSANT, MADFALL RHEIBUS, MAFFIA MR. HUWS, MANNA, MARNAD, MARTIN GERAINT, MEWN DYLED, MEDIWSA, MERCHED BECCA, MISTECS, MWG, MEIC STEVENS, MOJO, NEIL ROSSER, NEU UNRHYW DECLYN ARALL, OWAIN GWILYM, PAMA FIOLED, PERAIN, PERERIN, PEDWAR YN Y BAR, PLANT BACH OFNUS, POP NEGATIF WASTAD, PRY BACH TEW, PRYD MA TE, RAY JONES, RHIANNON TOMOS, SIMON FISHER, SOBIN A'R SMAELIAID, STEVE EAVES, STUART MANNING, TAITH, TERFYSG, TERRY WAITE AR ASID, TRAIS, TRADDODIAD OFNUS, TYNAL TYWYLL, UST, U THANT, LLE ANGHYSBELL, YR ACHOS, YR HOLL GYBOL, YR ORSEDD.

**TREFNIR Y NOSON GAN GWMNI CYTGORD CYF. A DIME GOCH AR GYFER S4C**

# FFORDD NEWYDD GYMREIG O DDAWNSIO

**Dyma fi yn yr Albert, Caernarfon, yn barod i siarad hefo Alun a Gruff, sylfaenwyr label ANKST. Dyma fi'n ymestyn am fy meiro i gael rhoi ar gof a chadw sylwadau'r ddau. Mae'r Albert yn prysur mynd yn gyrchfan i pop stars Cymraeg. Sut mae Gruff ac Alun yn teimlo yn y fath le?**

GRUFF: Dim stars ydan ni. Y grwps ydi'r stars. Mae isio rhoi sylw iddyn nhw.

**Dro'n ôl roedd Gruff yn gyd-gyfrifol am y ffansin "ISH" na welodd olau dydd fwy na dwywaith. Be ddigwyddodd i hwnnw?**

GRUFF: Mae "ISH" wedi mynd efo'r gwynt. Dwi wedi colli fy niniweidrwydd. Bysa fo'n rhy contrived rwan. Mae fanzines wedi mynd. Roedd na lot ar un adeg. (Ish, Dyfodol Dyddiol, Chmyll, Amser Siocled, Llygredd Moesol - Gol.) Roeddan nhw'n adlewyrchu petha.



ALUN: Yn y cyfnod fanzines roeddat ti'n clywad am grwp heb eu clywed yn aml, jest enw oeddan nhw.

**Roedd rhai fanzines yn cael eu cyhuddo o fod yn negatif drwy slamio gormod.**

GRUFF: Mae isio slamio i greu stwr. Gei di dy gyhuddo o fod yn negatif ond wot ddy hel. Yng Nghymru mae petha mor fach, ti'n gwybod pwy sy'n slagio ti.

**Digon o'r gorffennol hirbell, beth am yr ecsplosiyn diweddar o gynnyrch gan ANKST? Be sydd y tu ôl i hyn ac oes na wirionedd yn y si eich bod chi ar ôl beirdd mwya bopi Cymru, y Jecsyn Ffeif?**

ALUN: Hwyrach ein bod ni'n cael affair efo Gareth Sion. (Wow, hot news, hold ddy ffrynt pej - Gol.) Does na ddim ecsplosiyn, jest bod cyfnodau'n dod o hel pres a gwerthu ac yna ganolbwyntio ar stwff newydd. Dan ni'n teimlo bod angen fflydio'r farchnad efo cynnyrch i greu marchnad. Os gei di lwythi o stwff allan mae na fwy o siawns o werthu petha. Ddaru Tynal Tywyll ddeud bod ein profile ni'n rhy isel so roedd rhaid inni siapio.

**Creu heip, mewn ffordd, i bwsho'r bands a'r label?**

GRUFF: Creu heip dan ni rownd y grwpiau. Eto, mae o rowndan ni hefyd, yn ofyrlapio.

**Mi gawsoch chi'ch beirniadu'n reit hallt gan rywun di-enw yn "Sothach!" dro'n ôl, yndo. Be oeddach chi'n feddwl o'i sylwadau?**

ALUN: Gall y broses o label a grwpia fynd yn clici. Dan ni'n gweld petha o'r tu fewn felly mae'n neis gweld barn rhywun sydd ddim yn y byd pop.

**Sut ewch chi ati wedyn i heipio'ch cynnyrch?**

ALUN: Mae fflecsi disgs yn heip da. Dan ni am wneud cant o promo copis fflecsi o record Traddodiad Ofnus hefo clawr gwahanol i'r 12". Marc Lugg fydd yn gwneud y cloriau.

**Dach chi'n rhoi lot o bwyslais ar gerddoriaeth ddawns ar y funud. Ai dyma'r cyfeiriad byddwch yn ei ddilyn?**

GRUFF: Jest digwydd bod oedd hynny. Gawson ni gyfnod ar ôl seinio'r Gwefrau lle oedd popeth mor depressing ac undonog. Mae pawb ar y label yn grwpiau dawns, hyd yn oed Neil. Neith llond stafell o bobl ddawnsio i Neil. Mae na'n dal brinder o stwff dawns da. Bydd 12" Traddodiad Ofnus yn exciting, yn ddatblygiad o bop Blaenau Y i stwff asid. Dan ni'n gobeithio mynd a'r senglau i'r clybiau mewn llefydd fel Abertawe a Chaerdydd. Mae senglau 12" yn dance records da i'r clybiau.

**Rhywbeth sydd hefyd yn rhoi gwedd fwy modern ar fiwsig Cymraeg.**

ALUN: Mae o'n fwy real i blant ysgol sydd ddim yn dod i gysylltiad â stwff Cymraeg, yn gyfle i glywed stwff dawns da yn Gymraeg, y math o stwff maen nhw wedi arfer hefo fo.

**GRUFF:** Mae na beryg i bobl tu allan i Gymru feddwl mai'r Anhrefn ydi miwsig Cymraeg. Dan ni wedi dod i'r casgliad yn ddiweddar y dylai'r Anhrefn ddod yn ôl o Ewrop cos maen nhw mor wael. Maen nhw'n creu argraff drwg. Dylan nhw gael clywed Traddodiad Ofnus, Arfer Anfad neu'r Cyrff, neu'r Gwefrau. Rhywun sy'n dda yn gerddorol.

**ALUN:** Pan aeth Arfer Anfad i Wrecsam gafodd pawb cymaint o sioc i weld grwp dawns da Cymraeg oedd yn edrych yn dda. Aeth o i lawr yn dda a pawb yn dawnsio.

**Dach chi wedi bod â'ch grwpiau ar daith yn ddiweddar hefyd , yndo.**

**ALUN:** Ar daith mae grwpiau'n cael cyfle i ddatblygu cymaint mewn amser byr. Dan ni'n cael hwyl hefyd. Dan ni'n cael cystadleuaeth i weld pa grwpiau sy'n cael mwya o ferched.



**Phew, roc 'n' rol! Pwy sy'n ennill, felly?**

**ALUN:** 1) Edrych am Jiwlia 2) Arfer Anfad 3) Ankst.

**Beth felly yw'r masterplan?**

**ALUN:** Jest cario mlaen. Mwy o records. dan ni'n fully-booked tan Dolig rŵan. Yna wnawn ni chwilio am grŵps newydd. Dan ni isio cynnal y peth i bobl sefydlu eu gyrfa recordio efo Ankst. Cynnig cytundebau recordio go iawn i bobl.

**Wedyn dach chi am iddyn nhw aros efo chi?**

**GRUFF:** Gobeithio. Bydd Neil efo ni am byth. dyna pam ddechreuon ni. Oedd neb yn cynnig dim i Neil yna naethon ni gael o ac mae o am aros efo ni. Mae na gymaint o gaps sydd angen eu llenwi yn y sin Gymraeg. Dan ni'n llenwi'r sin ddawns. Be am werin, roc ayb? Lle mae'r REM Cymraeg? Lle aeth Heb Gariad? Oedd eu record yn briliant, yn llenwi gap go iawn. Mae'r Crumblowers yn gwneud hynny i raddau hefyd.

**Sut ydach chi'n gweld y sefyllfa ar hyn o bryd o ran labeli?**

**GRUFF:** Mae petha'n dal yn messy. Pan gychwynodd Ankst, Huw etc oni'n meddwl bysa hi'n bosib cael siap iawn ar betha ond weithiodd hi ddim.

**Sut dach chi'n dewis eich grwpiau?**

**GRUFF:** Am ein bod ni'n licio nhw.

**A be am 1989?**

**ALUN:** Dan ni'n embarrassed nad y ni sydd wedi dod a'r record orau allan eleni.

**Pwy sydd, felly?**

**GRUFF:** Sain. "Gary a Susan". Dwi ddim yn bod yn tongue in cheek. Dyna ydi'n craze diweddara ni, ar wahân i'r Pixies, ydi Gary a Susan sy'n wirioneddol dda.

**Efalla dylen ni yrru Gary a Susan i'r almaen yn lle'r Anhrefn.**

**GRUFF:** Dylen nhw gael mynd i Nashville. Roedd y ffilm yn briliant, yn sentimental neis. Mae Sobin a'r Smaeliaid yn shit.

**Unrhyw gredoau rhyfedd?**

**GRUFF:** Mae Alun yn licio merched ysgol a dwi'n licio merched hyn.

**Discograffi Ankst**

**Ebrill 88: "Ni Cystal â Nhw" - Neil Rosser - Ankst 001 ( Caset )**
**Mehefin 88: "Slow Dance efo'r Iesu" - Tynal Tywyll - Ankst 002 ( Caset )**
**Tachwedd 88: "Arfer Anfad" - Ankst 003 ( EP )**
**Mawrth 89: "Syrthio Mewn Cariad efo Tynal Tywyll" - Ankst 004 ( EP )**
**Ebrill 89: "Ffordd Newydd Gymreig o Fyw" - Neil Rosser a'r Partneriaid" - Ankst 005 ( Caset**

**Mehefin 89: "Edrych am Jiwlia" - Ankst 006 ( Sengl )**
**Awst 89: "Traddodiad Ofnus" - Ankst 007 (Sengl 12")**

**I ddod:**
**12" gan y Gwefrau yn yr hydref.**
**12" gan Arfer Anfad at y Dolig.**
**LP gan Neil Rosser a'r Partneriaid yn y flwyddyn newydd.**

**Bydd Steddfod Llanrwst yn un brysur iawn i MOJO. Mae'r grŵp yn ymddangos ym Mhabell y Cremlyn gydag Owain Gwlym ddydd Iau, a dydd Sadwrn ola'r Brifwyl am hanner dydd, yn y babell fawr ("Pafiliwn") nos Fercher yn Noson Lawen y Ffermwyr Ieuanc, ac mewn noson roc yn ardal y Steddfod ar un o'r nosweithiau eraill. Maen nhw newydd gyhoeddi caset ar y cyd efo Owain Gwilym, ac mae nhw'n perfformio'n gyson i hybu gwerthiant eu record-caset hir "Rhydd Rhyw Ddydd". Dewi Parry fu'n eu holi.**

**Tydach chi ddim yn grwp tanddaearol nac yn chwarae roc trwm. Fasa chi'n derbyn y disgrifiad yna, a beth yw eich disgrifiad chi eich hunain o'r grwp?**

Grŵp roc ydan ni, dan ni'n ddigon swnllyd lle bo'r galw, ac yn ddistawach yn rhai caneuon. Rydan ni wedi cael ein disgrifio fel grŵp "canol y ffordd" gan rai, a grŵp "canu ysgafn" gan y cylchgrawn "Golwg" - sy'n gwbl anghywir.

Mae pawb yn mynnu rhoi pob grŵp mewn categori, ond grŵp roc ydan ni sy'n digwydd canu caneuon amrywiol. Mae'n amlwg fod pobl yn hoff o glywed caneuon efo neges a digon o ganeuon efo bit i ddawnsio iddyn nhw.

# MOJO..MOJO..MOJO..MOJO..MOJO.



HUW SMITH - PETER ELIAS JONES - TUDUR MORGAN
BEDWYR MORGAN - KEN JONES

**Rydych chi wedi cyhoeddi dau gaset pedair cân ac albym o safon uchel o ran caneuon a chynhyrchu, wedi chwarae'n rheolaidd, ond ni welwyd MOJO'n rheolaidd ar y teledu.**

Mae hyn yn ddigon gwir. Bu'r grŵp yn ambell i raglen deledu. Anfonwyd "Rhydd Rhyw Ddydd" at Fideo 9 ond ni chafwyd llythyr yn cydnabod iddyn nhw ei dderbyn hyd yn oed. Ni wyddom pa hawl sydd gan gynhyrchwyr teledu anwybyddu grwpiau pop - sef "poblogaidd", a hyrwyddo grwpiau gwael uffernol ar eu rhaglenni - does na ddim sens yn y peth o gwbl.

Mae'n amlwg bod rhai o'n cyfeillion yng Nghaerdydd yn byw mewn byd ffantasi, gan nad oes 'na ymgais o gwbl i blesio Cymry ifanc "ar y stryd", dim ond "trendies" bach Cymraeg. Mae rhaglen newydd "Y Bocs" i'w gweld ar S4C cyn diwedd y flwyddyn, ac mae'n debyg y bydd gwell adlewyrchiad o'r hyn sy'n digwydd ar honno.

**Ar eich albym, "Rhydd Rhyw Ddydd", clywir sacsoffonydd Moving Hearts gynt, keith Donald. Sut gawsoch chi afael ar gerddor mor` adnabyddus - a da.**

Roeddem wedi ei gyfarfod sawl gwaith mewn nosweithiau pan oedd Moving Hearts yn dal i ganu, ac mi ddaru ni ofyn iddo fo, ac mi ddwedodd y basai wrth ei fodd.

**Mae nifer o "negeseuon" yn eich caneuon. Ydi pregethu a phop yn cymysgu'n hawdd?**

Dan ni ddim yn meddwl ein bod ni'n pregethu yn ein caneuon, ond yn hytrach yn ymateb i'n gwlad a'r byd o gwmpas - y "mewnlifiad", De Affrica, Ethiopia ac yn y blaen. Trio helpu pobl i feddwl am y pethau hyn tra'n cael hwyl a dawnsio 'run pryd!

**Beth yw'ch cynlluniau ar gyfer y dyfodol?**

Mi rydan ni'n brysur iawn yn ystod yr haf, a'r gaeaf nesa gobeithio gyda nosweithiau o gwmpas Cymru, ac ychydig o waith teledu ar "Y Bocs". Mi fasan ni'n gobeithio y gwnaiff rhywun ofyn i ni wneud record arall y flwyddyn nesa, hefyd.

Mi rydan ni am drio'n gorau i barhau cyhyd ag y medrwn, a cheisio denu mwy a mwy o Gymry Cymraeg naturiol (ac unrhyw un arall) o bob oed i ymddiddori mewn pop yn y Gymraeg, dyna sy'n bwysig, dyna ddylai pawb ei wneud o'r grwpiau i'r cyfryngau.

**Diolch yn fawr.**

Ti isio prynu tap "Rhydd Rhyw Ddydd". washi?

**Mojo ar dâp a record.**
**"Rhydd Rhyw Ddydd" - Sain C665N Caset.**
**Sain 1465M Record.**
**"Mae'r Neges yn Glir" - Sain RM001 Caset (ar gael gan Sain).**
**"Owain Gwilym a Mojo" - Sain C403B.**

# LOSHIN LYFLI BOBS

Annwyl di-enw, Aberystwyth,
(Gweler "Annwyl Sothach" yn "Sothach" )
Ffansin Byd Afiach... mmmm ... dwi'n licio'r syniad yna. Moliant i'r Bobs a'r Bobs yn unig. Dim o'r agweddau rhyddfrydol Gareth Poteraidd yn sgwennu pethe diddorol am bobl eraill - dim sgwrsio â Gareth Morlais ynglŷn â'r rhesymau am fethiant Ceffyl Pren i chware chwe noson yn Neuadd Dewi Sant, dim siarad â Marc Cyrff ynglŷn â pham ei fod wedi torri ei wallt fel gwallt Hefin Huws a pham fod Hefin (first name terms erbyn hyn) wedi torri ei walt fel gwallt Matt Johnson, The The.

Ffrwydriad yn fy meddwl! Mae'r Bobs yn gyfryngi. Syndrom y Brodyr Berlin yn cael ei wireddu - coleg- athro-bobs statws-rhaglen deledu ei hun yn llawn cyfweliadau a cherddoriaeth label Ankst, Huw Gwyn, Sain, Crai, Ryan, bleedin Leah Owen, Dafydd Iwan.Os ydy o yna - fe fydd y Bobs yn siŵr o gyfarth. Does gen i ddim byd i brofi iti, di-enw, Aberystwyth. Tybiaf dy fod ti'n genfigennus, neu'n ysu am y dyddie ciwcumber yn yr Angel ar bnawn Sadwrn. Bobs yw y sin o hyn ymlaen. Druan â ti.

Helo! Mae'r Bobs yn eich cyfarch chi i gyd rŵan wedi ei ryddhau o'r teimlad negyddol tuag at y cnewyllyn di-enw uchod a oedd mor ffol i feddwl mod i'n dwyn caneuon fy hen fand. Dydw i ddim fel arfer mor sensitif i feirniadaeth fel fy mod i'n gorfod ateb unrhyw gyhuddiadau gwag - wedi'r cwbl, it's only rock 'n roll - ond beth yw'r niwed mewn rhannu ambell i Bobstheori neu fobsfideo neu unrhywbeth. Gonestrwydd amherffaith dyna be sy eisie os dwi am lwyddo yn y byd mawr drwg. Dibynnaf ar eich cefnogaeth, brwdfrydedd a'ch ymateb os ydy menter gyfalafol gyfryngol ddiweddaraf pop Cymraeg yn mynd i osgoi pwll diwaelod "Larwm" neu "Big World Cafe".

Yn siarad fel artist (goodness Bobs, ti'n agos iawn i'r ffin rhwng parodi a narsism fan hyn) carem ddiolch i'r nifer o unigolion a gymeradwyodd fideo diweddar Byd Afiach. Un person yn unig sydd wedi dweud "Bog Off Bobs, doeddwn i ddim yn licio'r fideo" - a hwn oedd un Cedwyn Aled!! Dylid nodi fy mod i wedi gwneud sylwadau beirniadol lem ar ymddangosiad Cwrw Bach ar Fideo 9 ychydig funudau cyn iddo ddweud ei farn wrtha' i, fodd bynnag. Mae'n siwr bod nifer ohonoch yn cytuno â barn Cedwyn ond beth yw'r ots, dwi ddim yn poeni dim am farn unrhyw un am y fideo oherwydd nid myfi oedd yn gyfrifol am y cynhyrchiad (ffantastig!!) nac ychwaith am y gân. Siencyn Trempyn, naci wir, Arfer Anfad sgwennodd a chynhyrchodd y gan ("Tomos y Llanc a Cefin y Craen") - wel, nid Arfer Anfad yn union ond mam un o'r aelodau i ddweud y gwir - a oedd hefyd yn gyfrifol am roi brechdannau ac alcohol i'r band tra roeddynt yn brysur hyfforddi'r Bobs sut i feimio i'r gân hynod ffynci hon. Does dim angen dweud wrth gwrs mai Arfer Anfad yw tadau Tomos a gŵyr fy ngwraig ac mai hwy fydd yn cyflwyno pob rhaglen bop ar S4C o nawr tan ebargofiant.



(Bobs, cwl down - Gol)

Sori, fedra' i ddim dianc yn llwyr o gysgod sylwadau pitw Mr di-enw. Os wyt ti'n darllen hwn, ac mae'n siŵr dy fod yn hogi dy gyllyll yn barod am y Bobs ar y telly - yna, fe fyddi di'n falch i glywed nad yw'r Bobs yn bwriadu troi'n Cardiff-based-media-celebrity sy'n meddwi yng Nghlwb Ifor. Mi fydda' i'n dy ddilyn di o gwmpas dy daith o dafarndai Aber yn yr haf ac yn ceisio creu sin bop Gymraeg gwerth chweil.

Yn y domen sbwriel o geg ac ymennydd sydd gen ti. Goodbye and I love you all.

Uchafbwyntiau'r haf hyd yn hyn:
1. LP Stone Roses.
2. "Lawr yn fy Ardal i" Neil Rosser.
3. Llythyr di-enw, Aberystwyth - wot a laff.
4. Annie (50+ Cofi yn heclo'r Bobs yn yr Albert).
5. Phil Cool yn dynwared JR Ewing.
6. Ian Morris puke Fideo 9.
7. Tâp John Grindell (wot a laff).
8. John Grindell yn dweud bog off wrth unrhyw Gymro cul ei feddwl negyddol sydd ddim yn licio'i gerddoriaeth na'i syniade am Gymru.
9. Cymry Cymraeg yn ymafael â'r syniad o fod yn unigolion ac yn sgwennu llythyr at "Sothach".
10. Aled Samuel yn dweud geirie drwg ar y Carreg Ateb olaf.
11. (I'w lenwi gynnoch chi).
12. Trains, Planes + Automobiles
(Essential Cyfryngi Viewing).

Carwn ddiolch unwaith yn rhagor i bawb sydd wedi fy nghynghori i gyrraedd yr uchafbwynt, y pinacl, brig y don, climax etc etc yn y byd pop Cymraeg, sef cyflwyno fy ego anferthol i chwi bob wythnos. Ni fyddaf wrth gwrs yn cyfrannu iotyn at fywyd diwylliannol dibwys ardaloedd gwledig Cymru o hyn ymlaen, ni fyddaf yn gwylio S4C, ni fyddaf yn siarad Cymraeg ac rwyf ar fin danfon fy mab i Eton.

Y gair ola' gan fy hen ffrind Paul "I vote Margaret Thatcher" Weller:
"No matter what i do
i just end up hurtin' u."
See ya in Butlins.
Ver Boba.

# ΣΤΕΔΔΦΟΔ STEDDVOD

Wel, dyma ni, Steddfod arall wedi'n cyrraedd ni. Mi fydd na filoedd o Gymry cydwybodol a diwylliedig yn ymlwybro tua tre Llanrwst i dreulio wythnos mewn gwesty, mewn carafan, mewn tent, neu o dan fwrdd ym mhabell yr Efengylwyr. Amser i gyfarfod hen ffrindiau - a ffraeo hefo nhw, amser i neud rhai newydd - ac anghofio'n llwyr amdanyn nhw. Mi fydd na gwestiynnau mawr yn cael eu hateb : Pwy fydd yn ennill y gadair? Pwy fydd yn ennill y goron? Pwy fydd yn ennill y dawnsio disgo dan bymtheg? Un peth dwi yn obeithio'i weld ydi lot o grwpiau'n cystadlu'n y gystadleuaeth grŵp roc ym mhabell y Cremlin. All cystadleuaeth o'r fath ond gneud lles i'r sin yng Nghymru, efo'r grwpiau'n gwybod eu bod nhw'n gorfod cyrraedd rhyw fath o safon cyn dal llygaid y beirniaid. Yn hyn o beth, mae isio atgyfodi'r Steddfod Roc a sicrhau bod na grwpia newydd yn codi ac yn cystadlu.

Os ydi'r BBC yn mynnu eu bod nhw yn gneud lot dros ddiwylliant yr ifanc, beth am gynnig sesiwn i'r buddugwyr. Ac mi fase Sain yn gallu cynnig recordio caset. Mae na lot fedar lot o bobl neud i wella petha. Dwi'n cofio'r Steddfod Roc gynta pan oedd y Brodyr a'r Cyrff yn cystadlu, bob un o'r grwpia'n dda, a Pethma'n ennill ar y diwedd. Mi oedd y flwyddyn ganlynol yr un mor llwyddiannus efo buddugoliaeth i Chwys Plismon. Ond yn ara bach ar ôl hynny, mi ddechreuodd petha ddirywio. Mi ddoth y Steddfod Roc yn rhyw ŵyl grwpia Caerdydd bron, efo'r grwp buddugol yn nabod y beirniad a'r beirniad yn nabod pawb arall oedd yno. Mae isio i rywun gymryd yr awennau ac ail drefnu Steddfod Roc flynyddol - "Sothach" ella?

Gan bo' fi wedi crybwyll Sain, mi faswn i'n lecio deud pa mor gret ydi hi eu bod nhw wedi cychwyn label Crai, maen nhw wedi sylweddoli bod na sin tu hwnt i Trebor Edwards - na, dydi hynny ddim yn dêg i ddeud. Da iawn Sain ar ôl yr holl stic. Mae'n debyg y bydd cynnyrch cynnar Crai (cyflythreniad bach eitha clyfar yn fan 'na) ar gael ar faes yr Eisteddfod. Mi glywch chi'r miwsig ar y "speakers" anferth y tu allan, ac os bydd hi'n rhywbeth tebyg i Eisteddfod yr Urdd mi fydd hi'n frwydr rhwng Fflach a Sain i weld pwy fedar chwarae'r record fwya swnllyd a stopio'r gweithgareddau yn y pafiliwn ("A oes heddwch?").

Fi? Dwi jyst yn gobeithio y bydd hi'n Steddfod dda, ac y daw na lot o bobl i 'ngweld i'n chwarae yng Ngwesty Swallow Falls, Betws y Coed ar y dydd Mercher ac yn y Cremlin bnawn Iau - plyg bach yn fan 'na! Os dach chi wedi prynu hwn ar ddydd Gwener, nath y plyg ddim gweithio naddo. Ond dim ots pa ddiwrnod dach chi'n ei brynu o, diolch am neud. Tase pob un o'ch ffrindia chi sy'n ei ddarllen o efo chi rwan yn prynu un hefyd, mi fasa'n lot gwell - a cyn ichi feddwl, tydi'r golygydd ddim wedi talu ceiniog imi am ddeud hynna. WIR.●

DYFED EDWARDS.

# AMDDIFFYN

**Yn SOTHACH! Mehefin disgrifiodd Dyfed Edwards y grŵp AMDDIFFYN o Gaernarfon fel "grŵp uffernol o dda, grŵp hefo'r potensial i'w gneud hi go iawn, grŵp sy'n torri ar draddodiad cul y byd roc Cymraeg". Bu ein gohebydd yn nhre'r Cofi draw i holi'r band. Bant:**

**ALEX (Dryms):** Rŵan dan ni ar ein gora dwi'n meddwl, rŵan mae'r caneuon gorau'n dod allan.

**DARREN (Gitar):** Roedd y caneuon yn fwy middle-paced o'r blaen. Dan ni'n sgwennu a trefnu'n well rŵan. Dan ni'n gwneud be dan ni isio. Keyboard player dan ni isio rwan.

**ALEX:** Dyna be dan ni'n chwilio. Mae pob dim yn iawn ond rhaid inni gael keyboard player i gael y sŵn yn iawn.

**A mae'r lein-yp yn sefydlog rŵan?**

**ALEX:** Naethon ni gega ar un adeg. Mi wnes i a'r gitarist a'r synthist adael y grwp i ddechra band arall ond nath hynny ddim para. Wedyn nath Amddiffyn ofyn imi ail-ymuno.

**Ti ddim yn difaru?**

**ALAN (Llais):** Yndi!

**ALEX:** Pob bora.

**Pwy sy'n sgwennu'r caneuon?**

**ALAN:** Y band, pawb. Fi ac Alan sy'n cael y main rhythm a pawb yn chipio mewn wedyn. Mae pob dim lot mwy relaxed rwan.

**Be am y geiriau?**

**ALEX:** Does na neb yn sgwennu geiriau, i ddeud y gwir. Dan ni'n neud nhw fel dan ni'n mynd ymlaen.

**ALAN:** Y peth cynta sy'n dod i 'mhen i ydi'r peth gora fedra' i ganu.

**Sut hwyl dach chi'n ei gael arni hi yn yr hen sin roc yma?**

**ALAN:** Dan ni'n practisio fel lunatics ond does na ddim yn dod. Hefo pob dim dan ni'n neud dan ni'n cael ein brolio ond does na ddim byd yn dod allan ohono fo.

**ALEX:** Wrth ein bod ni heb gontacts fel grwpia Cymraeg eraill.

**ALAN:** Who you know ydi o.

**EDWIN (Sax):** Does na neb o'r band wedi bod yn y Coleg Normal neu'r Brifysgol.

**ALEX:** Does gynnon ni ddim contacts. Mae'n help os wyt ti'n gwybod pwy i gontactio. Dan ni ddim isio crafu tin. Mi fysan ni'n chware'n fwy aml ond rhaid i chdi nabod y bobl i chwarae ond rhaid i chdi chwarae i bobl ddod i nabod chdi.

**Be ydi'r ateb i hyn?**

**ALEX:** Tâp.

**DARREN:** Dan ni heb gael lot o sylw yn y roc scene. Wn i ddim pam.

**Dach chi wedi bod ar y teli, yndo, ac ar dap Stiwdio Les, "Byw yn Braf yn Gibraltar".**

**DARREN:** Do. Fideo 9, Stid a Bambw cyn bo hir. Dan ni'n dechra cael response yn y gigs.

**ALEX:** Mae'r grwpiau sy'n chwarae hefo ni'n cymryd mwy o ddiddordeb na'r bobl sy'n gwrando.

**DARREN:** Un mistec naethon ni oedd cadw'r un set am ry hir a doeddan ni ddim yn sylweddoli bod o'n boring.

**Ond erbyn hyn dach chi wedi ffeindio sŵn da hefo egni iddo fo sy'n eich codi chi uwchlaw'r rhan fwya o'r bands Cymraeg. Dylech chi lwyddo.**

**EDWIN:** Mae Amddiffyn yn fand da, powerful , newydd, briliant ond fedar yr un o'r band ddreifio felly fedar y band ddim mynd allan i chwarae. Hefyd, i fod yn onest, mae'r band yn ddiog.

**ALAN:** Yn disorganised.

**EDWIN:** Mae'r band yn dda ond does neb o'r band wedi sylweddoli bod y band yn dda.

**Mi fuoch chi ar Fideo 9 yn ddiweddar. Sut brofiad oedd hynny?**

**DARREN:** Oedd gynnon ni lwyth o syniada ar gyfer y fideo. Roedd na olygfa lle oeddan ni'n gwisgo masks a petha a naethon nhw ddim iwsio dim ohono fo a dyna oedd yn gwneud y fideo.

**ALAN:** Tair awr gaethon ni i neud o lle oedd pobl eraill yn cael mwy o amsar.

**Be oeddach chi'n feddwl o'r fideo fel oedd hi?**

**EDWIN:** Dwi'n hapus hefo'r fideo. Gaethon ni'n talu

amdani a gaethon ni'n gweld ar y teli felly fedri di ddim cwyno really.

**ALEX:** Nath Stid ripio ni off am £70 o expenses hefyd.

**Be ydi'r dyfodol?**

**ALEX:** Tâp dan ni'n gobeithio neud rŵan i gael sylw. Dan ni'n chwilio am sponsorship i fedru neud o.

**Efalla bysa'r Steddfod yn lle da i chi gael chydig o sylw.**

**ALEX:** Maen nhw'n chwarae lot o shit yno. Mae na bands shit yn mynd i chwarae yn y Steddfod.

**DARREN:** Mae'r Steddfod yn shit. Heblaw bod ni isio gigs bysan ni ddim yn meddwl chwarae yno.

**Be dach chi isio o'r busnes roc yma?**

**DARREN:** Be dan ni isio yn y Welsh Rock scene ydi secs, drygs, roc a rol a llwyth o bres.

**ALEX:** Dan ni isio i lot o genod ysgol ifanc ddod ar ein holau ni. Dan ni'n bobl neis ond am ryw reswm neith neb ddod i siarad efo ni.

**DARREN:** I fod yn onest dan ni jest isio gigs ac i bobl gymryd sylw.

**EDWIN:** Yn enwedig os wyt ti wedi chwarae dau gig mewn wythnos a bod ar y teli a ti ddim yn siart Cytgord ond mae Edward H Dafis yn y siart a hwythau wedi gorffen ers blynyddoedd.

**Fel mae'n digwydd, mi aeth Amddiffyn i rif 4 yn siart Cytgord yr adeg honno. Ond ta waeth am hynny, be am y gerddoriaeth?**

**ALAN:** Ella bod ni'n chwarae miwsig depressing ond mae'r miwsig yn trio rhoi rwbath drosodd.

**Be ydi hynny?**

**ALAN:** Mass confusion.

**Be am y sin Gymraeg ei hun?**

**DARREN:** Mae pobl jest isio clywed y bobl mawr, y rhai sydd ar y teli. Pwy ti'n nabod ydi o. Dan ni'n licio clywed petha newydd, ddim yr hen shit.

**ALEX:** Rhaid iddo fo progresio. Mae na lot o fands da'n dechra rwan.

**DARREN:** Mae isio i'r sin ddod at ei gilydd i helpu bands newydd neu fydd y sin yn f****d. Mae o i fyny i bawb yn y sin roc Gymraeg i dynnu fo at ei gilydd a'i gymryd o ddifri neu neith o jest syrthio.

**Cysylltwch ag AMDDIFFYN drwy Alex yn 8 Stryd Wesley, Caernarfon, neu ar Gaernarfon 3468.●**

GORWEL ROBERTS



# HYBU YR WYAU



**Dwi'n eistedd dros beint yn yr Albert, Caernarfon yn siarad â David Edwards, ffryntman Datblygu, ac un o feirdd pop mwya grymus yr is-ymwybod Cymreig. Yn y cefndir mae na pyb band digon erchyll yn diddanu'r torfeydd nos Wener. Beth ydi barn yr hen Dave amdanynt, ys gwn i?**

**DAVE:** Gwd achos mae e yyyyyyyy.........yn adloniant aaaaaaaaaaa...........mae e'n adloniant sydd ddim yn pretentious. Mae'n onest ond yn wael. Pathetig ond yn wael.

**Ti'n licio fo, felly.**

**DAVE:** Ydw, achos mae e mor wael.

**Mae hyn yn gwneud sens o ryw fath. Deud y gwir mae'n gwneud sens perffaith. Dwi'n troi at Dave a gofyn: Ydi Datblygu'n wael felly?**

**DAVE:** Na

**Wyt ti'n mwynhau Datblygu, Dave?**

**DAVE:** Ydw, achos mae'n cadw pen fi at ei gilydd. Yn stopio fi rhag troi mewn ar fy hunan, yn galluogi fi i fynegi fy hunan.

**Ti'n mynegi pethau digon erchyll weithiau.**

**DAVE:** Wrth gwrs.

**I be? I roi sioc i bobl?**

**DAVE:** Na. Yn y pendraw y peth yng nghefn fy meddwl yw bod pawb yn mynd i farw. Mae pobl yn meddwl bod Datblygu'n depressing ond ni ddim, ni ddim ond yn onest.

**Falle bod y gwir yn depressio lot o bobl. Deud y gwir mae lot o dy eiriau yn gwneud imi chwerthin.**

**DAVE:** Dyna'r bwriad, ni ddim isie gwneud i bobl deimlo'n depressed. Ni isie i bobl weld y joc. Cymryd diddordeb.

**Diddordeb yn beth?**

**DAVE:** Yn y ffordd fi'n edrych ar y byd. Y ffordd mae unrhyw un yn edrych ar y byd. Mae pawb yn edrych ar y byd yr un peth. Mae'n dibynnu ar gyfartaledd. Mae pawb yn depressed 1% o'r amser a dydyn nhw ddim yn cyfaddef hynny. Ni i gyd am farw yn y diwedd. Mae'r trên yn dod. Yn y cyfamser rhaid bod yn ymwybodol bod y trên am eich curo chi.

**Ydi hynny'n sbarduno rhywun ynte'n depresio rhywun?**

**DAVE:** Mae amser yn mynd heibio. Dyw pobl ddim yn ymwybodol eu bod am farw a bod amser yn rhedeg allan. Sai'n gwybod a yw bywyd yn werthfawr ynte'n ddiwerth.

**Ai therapi yw Datblygu felly ynte rhywbeth mwy?**

**DAVE:** Sai'n siwr. Mae e'n therapi yn bendant.

**Wyt ti am i Datblygu werthu miloedd?**

**DAVE:** Na. Fi am iddo fe fod yn llwyddianus i'r pobl sydd isie fe. Mae pobl yn prynu recordie heddiw a dydyn nhw ddim yn gweld y recordie 'n bwysig. I fi mae'r ffaith bod 100 yn licio Datblygu a really licio ni yn well na bod miliwn yn licio ni heddiw ac wedi anghofio ni blwyddyn nesa.

**Beth am yr hiwmor?**

**DAVE:** Mae hiwmor yn un o'r pethe pwysica sy'n ysbrydoli ni. Nid hiwmor amlwg ond bydd pobl sy'n gweld y jocs yn hoffi e. Mae unrhyw effaith neu ymateb yn fwy pwysig na dim ymateb. Yn ein gig diwetha roedd pobl yn taflu gwydrau atom. Ni ddim yn mwynhau hynny ond o leia mae e'n ymateb.

**Mae'n ymddangos bod Dave yn yfed tomato juice. Dwi'n gofyn iddo, mewn ymgais i osgoi cwestiynnau amlwg, pam nad yw'n yfed alcohol. Mae'n meddwl mod i'n gofyn pam ei fod o'n yfed alcohol. Go iawn mae na Vodka yn y sudd.**

**DAVE:** Achos fi'n teimlo bod rhaid i fi. Dwi wastad wedi achos dyna'r unig beth ma cymdeithas yn caniatau dan y gyfraith. Yr unig beth gei di yw alcohol a sigarets. Hyd yn oed ar ôl alcohol mi fedri di wneud dy swydd ond ar ôl a cyffurie anghyfreithlon fedret ti ddim gweithio. Cyfalafiaeth yw e.

**Be? Wyt ti'n cymryd cyffurie?**

**DAVE:** Na

**Am bod gen ti swydd?**

**DAVE:** Na, mae swydd fi'n crap. Sa'i am gymryd cyffurie. Nid am resymau moesol ac nid am eu bod yn anghyfreithlon. Dywe ddim ar gael. Os yw pobl am gymryd cyffurie dylen nhw cymryd e. Mae gormod o foesoldeb yn y gymdeithas 'ma. Os yw pobl am roi nodwydd yn eu braich, fair enough. Os byswn i'n gwneud e byswn i'n f****d. Fi am osgoi e, ti'n gwbod. Mae gyda fi pob parch at bobl sydd a rheswm i'w bywyde. Does 'da fi ddim rheswm i bywyd fi. Sai'n grefyddol, sai'n uchelgeisiol. Fi fel planhigyn.

**Mae hyn yn anodd i'w gymryd gan rywun sydd wedi sgwennu caneuon fel "Dafydd Iwan yn y glaw", "Hollol", "Gwlad ar fy nghefn", "Casserole" etc. Byddai rhywun yn tybio mai'r cwbwl wyt ti'n wneud ydi eistedd yn dy stafell hefo'r golau off a'r llenni ar gau.**

**DAVE:** Dyna beth fi'n wneud. Dyna beth fi'n wneud. Smygu, betio ceffyle, aros yn fy stafell a'r gole off.

**Mae'n anodd gwybod wyt ti'n seriws neu'n cymryd y piss.**

**DAVE:** (gwenu) Mae hynny achos ti'n rhy cynical. Fel sy'n rhaid iti fod.●

GORWEL ROBERTS.

# harri go ffes

**Gyda dyfodiad canwr a gitarydd newydd ac addewid o sŵn "na chlywyd erioed o'r blaen yn Gymraeg", mae'r grwp HARI GO FFES yn barod i afael yng ngwar y sin roc a'i hysgwyd i'r entrychion. Bu SOTHACH! draw yn Aberystwyth yn holi dau aelod o'r band.**

**Sut gawsoch chi'r fath enw â Hari Go Ffes?**

**RHYS (Gitar):** In-joc oedd o ar y dechrau. Oeddan ni'n styc am enw ar gyfer wythnos y Glas yn y Coleg yn Aberystwyth ddwy flynedd yn ol.



**Pa fath o fiwsig dach chi'n chwarae?**

**RHYS:** Shit basically. Na, dan ni'n eitha popi...

**Dach chi ddim am wneud honiadau mawr felly?**

**RHYS:** Dim eto.
Mae Morgan Hopkins wedi ymuno hefo ni i ganu rwan. Mae o wrth ei fodd. Mi oeddan ni angen canwr. Dan ni wedi mynd trwy bedwar yn barod. Dan ni'n reit sefydlog rwan.

**Beth yw'r dylanwadau?**

**RHYS:** Maen nhw'n hollol wahanol. Dwi'n licio'r Smiths, House of Love, Tynal Tywyll, Crumblowers. Mae gan weddill y band dast mwy mainstream. Mae Edward (y basydd) yn licio Level 42. Mae o'n expert ar y slap. Gan ein bod ni wedi chwarae lot, dwi'n meddwl ein bod ni'n swnio'n reit dda hefo'n gilydd.

**Mae gynnoch chi steil a ffordd o weithio bellach.**

**RHYS:** Oes. Mae pawb yn cyfrannu rhywfaint i'r sgwennu. Mae Morgan wedi bod yn sgwennu'r geiriau i'r caneuon newydd.

**HEFIN (Dryms):** Dan ni'n cymryd ein hunain yn fwy seriws rwan.

**Sut ydach chi'n gweld petha'n datblygu'n gyffredinol?**

**RHYS:** Mae na lot o grwps da o gwmpas. Mae lot o bobl oed ni'n cael eu hunain ddim yn licio'r grwpiau diweddar cos kids bach o Gaerdydd sy'n dilyn lot o'r grwpiau mwya newydd. Does gen i ddim byd yn eu herbyn nhw, jest bod ni ddim yn ffitio i mewn i hynny.

**Oes na ragfarn yn erbyn grwpiau fel chi sydd ddim yn ffitio mewn i rywbeth?**

**RHYS:** Ella achos dan ni ddim yn ffitio'r ddelwedd.

**HEFIN:** Does dim delwedd 'da ni. Os oes rhywun moyn inni whare wnewn ni whare. Falle mai dyna pam ni heb gael lot o sylw. Tasen ni i gyd yn gwisgo coch...

**Efallai bod rhaid derbyn bod delwedd yn rhan pwysig o'r peth.**

**HEFIN:** Mae'r grwpiau'n well rŵan am eu bod nhw'n cario mlaen i fynd mwy. o leia mae gyda nhw ddigon o ddiddordeb cario mlaen. Mi nath Rhys Mwyn y pwynt bod pawb wedi dilyn y sin ddu, danddaearol etc a rwan does neb yn mwynhau y peth.

**Be dach chi'n feddwl o'r busnes "tanddaearol" yma?**

**RHYS:** Phase ydi o. Mi wneith petha balansio allan byswn i'n meddwl. Mae na lot mwy o ddewis rwan. Gwahanol steils.

**HEFIN:** Pan oni'n dechre oedd pobl yn mynd i weld band am mai dim ond nhw oedd yn chwarae.

**Pwy ydi'ch cynulleidfa chi, felly?**

**RHYS:** Anodd deud, really, cos pan dan ni'n chwarae tu allan i Aberystwyth, chwarae syport i bands eraill fyddan ni ac mae'r gynulleidfa yno i'w gweld nhw.

**HEFIN:** Dan ni i weld yn cael gwell ymateb tu fas i Aberystwyth.

**Sut fath o sin sydd yna yn Aber?**

**RHYS:** Mae na lot o grwpiau Saesneg o gwmpas yn chwarae mewn pybs bach. Wn i ddim oes na gynulleidfa i bands Cymraeg tu allan i'r coleg. Y teip o beth sy'n mynd i lawr yn dda yma ydi covers o betha Saesneg fel Dire Straits a Marillion. Mae o lot i neud efo faint o dwristiaid sydd yma yn yr haf.

**HEFIN:** Dwi'n grac pan mae pobl yn slagio grŵp arall. Mae lle i bob math o gerddoriaeth. Es i weld Sobin a'r Smaeliaid yn ddiweddar ac maen nhw'n ganol y ffordd ond mi oedd e'n gig gret gyda pob math o bobl yno.

**Beth am Fideo 9?**

**HEFIN:** Gwd.

**RHYS:** Y peth gora sydd wedi bod hyd yn hyn ond fedrwn ni ddim deud ei fod o'n adlewyrchu petha'n hollol deg cos dan ni wedi bod yn mynd yn hirach na rhai o'r grwpiau sydd wedi bod arno fo.

**Oes gynnoch chi unrhyw gredoau rhyfedd?**

**HEFIN:** Oni'n disgwyl hynny ar y diwedd.

**RHYS:** I believe.......●

# ADLONIANT 'STEDDFOD LLANRWST
# CYMDEITHAS YR IAITH GYMRAEG

**1. CANOLFAN ABERCONWY LLANDUDNO - 7.30 -12.00**

LOLFA — NEUADD FAWR

| | |
|---|---|
| Nos Sadwrn Awst 5ed<br>LOLFA<br>3.00 | Cynghorwyr<br>Billy Clinn<br>Boff Frank Bough |
| Nos Sul Awst 6ed<br>LOLFA<br>3.00 | Llwybr Llaethog<br>Ffa Coffi Pawb<br>Blodau Cyntefig |
| Nos Lun Awst 7ed<br>LOLFA<br>3.00 | Y Cyrff<br>Arfer Anfad<br>Cerrig Melys |
| Nos Fawrth Awst 8ed<br>NEUADD FAWR<br>3.00 | Jess<br>Y Fflaps<br>Yr Orsedd<br>Letys Seicedelig |
| Nos Fercher Awst 9ed<br>NEUADD FAWR<br>3.00 | Traddodiad Ofnus<br>Eirin Peryglus<br>Cofion Ralgex<br>Terry Waite + Asid |
| Nos Iau Awst 10ed<br>NEUADD FAWR<br>3.00 | Y Cyrff<br>Brawd Bach<br>Madfall Rheibus<br>Dail Te Pawb<br>Defaid |
| Nos Wener Awst 11eg<br>NEUADD FAWR<br>3.00 | Anrhefn<br>Datblygu<br>Edrych am Jiwlia<br>Merched Beca |
| Nos Sadwrn Awst 12ed<br>NEUADD FAWR<br>3.00 | Tynal Tywyll<br>Crumblowers<br>Canol Caled<br>Am Dwrw |

**3. Y VIC LLANRWST 7.30 - 11.00**

| | |
|---|---|
| Nos Sadwrn Awst 5ed<br>2.50 | Delwyn Sion<br>Bob Delyn a'r Ebyllion |
| Nos Sul Awst 6ed<br>2.50 | Calennig<br>Byd Afiach |
| Nos Lun Awst 7ed<br>3.00 | Mabsant<br>Clochan |
| Nos Fawrth Awst 8ed<br>3.00 | Hindeg/ Heather Jones<br>Cyffred |
| Nos Fercher Awst 9ed<br>3.00 | Maire Ne Cathasagh<br>Cromlech |
| Nos Iau Awst 10ed<br>3.50 | Plethyn<br>Elfed Lewis<br>Dyfed Edwards |
| Nos Wener Awst 11eg<br>3.50 | Neil Rosser<br>Mojo |
| Nos Sadwrn Awst 12ed<br>3.50 | Meic Stevens<br>Bob Delyn a'r Ebyllion |

*************************************************************

**2. GWESTY'R RHAEADR EWYNNOL BETWS Y COED 7.30 - 11.30**

| | |
|---|---|
| Nos Fawrth Awst 8ed<br>3.00 | Meic Stevens<br>Gwrtheyrn<br>Dyfed Edwards |
| Nos Fercher Awst 9ed<br>3.00 | Cwrw Bach<br>Y Gwefrau<br>Steve Eaves |
| Nos Iau Awst 10ed<br>3.00 | Sobin a'r Smeiliaid<br>Bwyd Llwyd<br>Yr Orsedd |
| Nos Wener Awst 11eg<br>3.00 | Geraint Lovgreen<br>Byd Afiach<br>Dechrau Canu |
| Nos Sadwrn Awst 12ed<br>3.00 | Steve Eaves<br>Arfer Anfad<br>Neil Rosser |

*************************************************************

# GWEFREIDDIOL

Cymerais lymaid arall o'r capuccino. Roedd yn dechrau oeri ac roeddwn i'n dechrau poeni. Roedd hi'n 2.45 ac roedd mwg sigaret yr hen Roegwr wrth fy ymyl yn crafu'n llygaid, a dyma fi'n ceisio cadw oed i gael cyfweliad a'r GWEFRAU.

Y GWEFRAU ie, un gân ar "Fideo 9", sesiwn ar "BBBambw" a llythyr dan din yn "Sothach!". Grŵp tair merch (a dau fachgen) o'r ddinas hyderus yn canu cerddoriaeth ddawnsiadwy a diddorol (Cyfuniad digon prin yn y "Byd Roc Cymraeg"). Roeddwn wrthi'n synfyfyrio a pigo fy nhrwyn pan gerddodd y tair fewn i'r cafe - o'r diwedd. Sythais fy nghefn, cynigiais baned a gofynnais y westiynnau cynhyrfus hyn. Darllenwch ymlaen.

Roedd na lythyr maleisus braidd yn rhifyn diwetha "Sothach!" yn eich darlunio fel rhyw fath o fasdad-grŵp nepotistaidd. Beth yw'ch ymateb i'r honiad yma?

Wel, i ddechrau, roedd ei ffeithiau'n anghywir - nid oes aelod o Madfall Rheibus yn y grŵp. (Beth sy'n bod ar hynna - mochyn siofinistaidd sgwennodd y llythyr, ife?!). Ffilmiwyd y fideo yng Nghaerdydd achos dyna lle mae'r grwp yn byw (Petaen ni'n byw ar Ynys Môn, byddem ni wedi ffilmio'r fideo fyna. Oes bysus yn Sir Fôn?).

Roedd y llythyr yn ein cyhuddo ni o fod yn bimbos di-dalent ac heb" weithio ar ein miwsig" ond ar "costumes a colur". Wel, sgrifennwyd y geiriau a'r gân gan y grwp i gyd ac mae gennym 6 can arall hyd yn hyn. Am y delwedd - wel, mae ein delwedd rhywiol yn dod yn naturiol heb wisg a cholur!

Yn ola, y rheswm dyw pobl heb glywed am y Gwefrau hyd yn hyn yw am ein bod yn grwp newydd ond sydd wedi cael y cyfle gan Criw Byw a llawer o gyfryngau eraill i wneud ein marc ar y sin. Cyn bo hir bydd pawb wedi clywed am y Gwefrau!

Ta beth, mae'n iach iawn cael "hate-mail". Rydym yn diolch yn wresog i'r ysgrifennwr am y cyhoeddusrwydd rhad ac am ddim - y tro nesa arwydda dy enw wedyn gallwn ni ddiolch iti'n bersonol!!

Ydych chi'n credu bod ganddoch chi rywbeth gwreiddiol i'w gynnig i'r sin neu ai jyst band trendi-drongo-pretentious (neu gyfuniad o'r tri) o Gaerdydd yw'r Gwefrau?

I fod yn hollol onest ryn ni braidd yn pretentious ac yn trendi (Ych!) ond rhan o'r ddelwedd ydy hynna, nid y miwsig na'r geiriau.

Ydy Caerdydd felly wedi dylanwadu arnoch chi mewn unrhyw ffordd?

Wrth fyw yng Nghaerdydd rych chi'n dod yn llawer mwy meddwl agored. Dyw e ddim yn un clic mawr - so pawb yn cwrdd yng Nghlwb Ifor Bach pob penwythnos i siarad am ddyfodol y sin Gymraeg. Ni'n lwcus, mae na lawer mwy o gyfle yma nag sydd yng ngweddill Cymru. Efallai bod y Gwefrau yn ffitio mewn i ryw sect o'r enw "typical Cardiffians" ond dyna beth ydym ni so.....

Dywedodd Gruffydd o'r Blaenau Y bod y Cymry o hyd tu ôl i'r Saeson ac bod hyn yn wir yn gerddorol a dawnsio'n enwedig. Fyddech chi'n cytuno â hyn?

I raddau. Mae miwsig Saesneg heddiw mor eang mae'n anodd gwybod beth yw'r latest trend. Sdim pwrpas i grwpiau Cymraeg ddilyn y sin Saesneg - jyst canu beth maen nhw eisiau i'r gynulleidfa iawn. Rydym ni'n mynd yn aml i glybiau Saesneg sy'n canu "House", "Rare Groove" ac "Urban" felly mae'r Gwefrau'n siwr o fod wedi eu dylanwadu gan y genre yma.

Ydy'r sin roc Gymraeg bondigrybwyll jyst yn llawn "pysgod mawr mewn powlen bach" (Ymddiheuriadau i bob athro Cymraeg)?

Na! I ni mae'r sin roc Gymraeg yn un afon enfawr yn llawn pysgod amrywiol a deniadol. Wrth gwrs fe geir ambell i bysgodyn sydd am fwyta ei gyd-bysgod. Ceir pysgod hunanol ymhob afon.
Joc arti: How many surrealists does it take to change a light bulb? - Fish!! (Da iawn ferched, doniol tu hwnt - Gol).

Ydych chi'n meddwl bod y sin yn un macho, hynny yw grwpiau o fechgyn yn ffurfio grŵp er mwyn bachu merched?

Hynny yw Tynal Tywyll, Maffia, Plethyn?! Ydyn. Ni 'di cael inside information gan Rhisiart (Edrych am Jiwlia) bod hyn yn hollol wir!! Mae'r holl ddelwedd o fod mewn grŵp yn rhywiol i fechgyn.

Ydych chi wedi ffurfio grwp er mwyn bachu bechgyn 'te?

Ydyn!!!....

Ydych chi'n meddwl bod grwpiau ifanc yn cael gormod o sylw yn rhy gynnar? Ydy hyn yn beth da?

Rhaid bachu y grwpiau ifanc\achos y peth pwysig ydy bod rhannau helaeth o'r gynulleidfa yn ifanc ac maen nhw'n mynd allan i glywed cerddoriaeth sy'n apelio atynt. Cerddoriaeth ffresh i'r ifanc.

Ai rhywfath o Bananarama-cum-good ydy'r Gwefrau?

Byddem yn dweud bod y disgrifiad yna yn siwtio Atyniad Ychwanegol (R.I.P.) mwy na ni. Y Gwefrau eu hunain sy'n sgwennu'r caneuon ac mae'r merched yn gallu canu. Ni chafodd "Willy Smith" ei sgrifennu gan Stock Aitken a Waterman neu pwy bynnag. Beth bynnag, ryn ni'n fwy rhywiol na Bananarama.

Oes gan eich geiriau ogwydd ffeministaidd o gwbl?

Ni'n casau "male chauvinist twats" ond dyn ni ddim yn canu amdanyn nhw.

Ydy hi'n wir eich bod wedi arwyddo cytundeb recordio â label Ankst, oes na rywbeth ar y gweill?

Ydy, mae'n wir. Mae na lawer o bethau gwefreiddiol ar y gweill. 12" erbyn yr hydref ac hefyd taith rywbryd.

Unrhywbeth ysgubol i'w ddweud?

Does dim un o'r grŵp yn briod felly os ych chi'n edrych am chickens neu cockerels!?! neu os ydych chi eisiau "gwefr" yn eich bywyd "Dial 100 and ask for free phone lust line!!"

A dyna ni awr a £1.55 yn llai yn ddiweddarach, gorffenodd y cyfweliad hir-ddisgwyledig a grŵp mwya potensial Cymru. Brasgamodd y gens mas i'r stryd a'r siopau a dalies innau y tren llwm am 4.07 nol adre.●
SION JOBBINS.



# MAE PERCHENNOG YR ORIEL YN DDYN HAPUS IAWN

Glamyr go iawn yw'r peth olaf welwch chi y dyddia yma. Dim glamyr arwynebol, cosmetig arian a dillad ffansi sy'n cael eu nodweddu gan "Dynasty" a'i fath ond y llewyrch mewnol sydd i'w glywed yng nghaneuon Shirley Bassey a Frank Sinatra neu ddirgelwch tywyll ffilmiau Humphrey Bogart. Mewn cerddoriaeth bop heddiw mae rhywfaint yn llechu yng ngwaith Morrissey a Marc Almond a hefyd yng ngwaith Madonna a nawr rydym yn dod o hyd i glamyr yn y lle lleia tebygol - gan grŵp Cymraeg o'r enw POP NEGATIF WASTAD.

Mae'r ddeuawd POP NEGATIF WASTAD yn cynnwys Gareth Potter (gynt o Draddodiad Ofnus, Dinas, Clustiau Cwn, Eastenders...) ac Esyllt Annwyl (gynt o Grisialau Plastig). "Mae Esyllt yn creu fframiau prydferth i fy llais hyfryd," esboniodd Gareth. Dydi o ddim yn dweud hyn fel joc. Bydd pobl glamyrys yn dweud pethau fel hyn ac yn osgoi beirniadaeth! Pan mae hunan-hyder fel hyn yn cael ei briodi â "dance-beat" sydd ddim yn cymryd na fel ateb, ydy hi'n bosib ei amau o?

Yn y byd roc Cymraeg prin yw'r bobl sydd wedi beiddio fflyrtan efo rhythmau hedegog cerddoriaeth ddawns. Yr unig enghraifft yw arbrofion rhannol-lwyddianus Llwybr Llaethog. Ond tra bod Llwybr Llaethog yn creu nifer o arddulliau mewn ffordd analytig a barfog, mae POP NEGATIF WASTAD yn trochi eu hunain ym mywyd y discotec, yn chwerthin yn ddi-farfog ac yn dawnsio tan y wawr heb angen ymddangos yn "cool" achos maen nhw'n gwybod bod nhw YN COOL. Byddai Ian Morris yn gwerthu ei enaid i fod yn POP NEGATIF WASTAD, ond wrth gwrs dydy hynny ddim yn bosib.

Ar eu hymddangosiad cyhoeddus, cyntaf 12", sydd â'r teitl priodol "Helo Rhywbeth Newydd", mae'n glir mai cariad at gerddoriaeth sy'n gyfrifol am lwyddiant eu celfyddyd - dim disgo, neu pop, neu roc, ond cerddoriaeth o bob math. Yn ystod y chwe chân maen nhw'n dwyn ac yn samplo'n ddigywilydd o gymaint o lefydd a phethau, mae'r holl beth yn gwneud i'ch pen nofio. Bleepiau - asid- synth, acordion Parisien, melodica - dyb Pablo, pianos Chicago House i gyd yn chwyrlio ac yn gwrthdaro ambell waith gan gyfeirio at New Order, Big Black, The Smiths. Ond er hyn yn wyrthiol yn llwyddo i swnio'n wreiddiol.

Hyd yma yr unig gyflwyniad does gynnyn nhw ddim siawns mul yn y Grand National. Er eu bod yn ieuenctid modern mae PNW yn deall yn reddfol ysfa'r byd modern ac yn sylweddoli ei fod o'n bwysig llwytho cymaint ag sy'n bosib, boed yn ddelweddau fidio neu gerddorol, i'r amser a'r gofod sydd ar gael. Wedyn, efallai bydd y byd yn parhau am 27 munud ac 16 eiliad! Ar y brif gân "Helo Rhywbeth Newydd", er enghraifft, maen nhw'n canu un pennill yn unig - unwaith mae pawb wedi clywed y tiwn, i be sydd eisiau ailadrodd a'r gân yn llwythog o bianos prysur neu acordion melancolaidd a rhyw rhythm chwareus "stop-start".

Ar y ddwy cyfyr-fersiwn ar y record mae dawn actio Potter yn amlygu ei hun. Wrth iddo ymollwng yn fflamboiant i rolau cymeriad y caneuon mae'n ein argyhoeddi mai ei greadigaethau o yw'r caneuon. Fel y



byddwch chi wedi ei gael i PNW fydd eu fideo "Iawn" ar Fideo 9. Mewn un gân does dim gobaith dangos mwy na rhan fach o'u cerddoriaeth amlochrog. Mae'r delweddau gweledol yn fwy o gliw i ystyr y gân. I'r gwyliwr achlysurol yr hyn a welir yw dilyniant damweiniol o ddelweddau a lliwiau "paint box" yn fflachio heibio mewn mur orlwythog synhwyrus wedi ei fritho a golygfeydd o'r cantorion yn sipian te ar lawnt. Mae'r delweddau ymhell o fod yn ddamweiniol, fodd bynnag, mae pob un yn icon wedi ei ddewis yn arbennig o fyd POP NEGATIF - byddai pob un o'r bobl sy'n cael ei ddarlunio eisiau bod yn POP NEGATIF WASTAD - Joan Miro, Natassia Kinski, Gay Ellis, Mark Lugg, Sam Tân .... ond, wrth gwrs, llosgwr gwallgo o'r dre fach yn "Kerosene" mae ei berfformiad yn trawsblannu gosodiad gwreiddiol "American-Mid-West" Big Black i gynefin aflonydd Canol-Cymru tra bod y fersiwn afieuthus o "Valium" Ffa Coffi Pawb yn dangos Potter yn trawsffurfio'n fath o Norman Collier persain, eironig ar asid.

Hyd yn oed wrth i'r cyfddydd dorri a'r dawnsio'n dod i ben byddwch yn eich cael eich hunain yn hymian o gatalog diddiwedd tiwniau Esyllt trwy'r dydd. (Clywyd ei bod hi wedi prynu siwt Chanel wrth ddisgwyl y sieciau breindal) ac wedyn byddwch yn dymuno bod yn POP NEGATIF WASTAD, ond wrth gwrs fedrwch chi ddim. ●

ALAN HOLMES.




**Dyma Rhys Pys, y dyn gwallgo sy'n gwisgo leotard pinc a sombrero ac yn canu hefo U THANT ymysg pethau eraill, yn stagro allan o'r King's head, Bethesda, gyda gweiddi afreolus yn atsain yn ein clustiu. "Un arall, un arall, un arall," bonllefai'r dorf. Ond ar ôl dau encor roedd yr hogia'n nacyrd........**

**RHYS (Canwr):** Dwi'n falch o gael honna drosodd. Ron i'n cachu'n hun ar y dechrau.

**IWAN (Gitar):** Roedd hi'n kill or cure ond ath popeth yn iawn. Dan ni wedi cael cynnig mynd yn ôl yno.

**Pam bod U Thant wedi bod yn dawel yn ystod y misoedd diwetha 'ma?**

**RHYS:** Geusom ni ddechre da. Digon o hype. Cael gigs yn Steddfod, jyst troi fyny a pawb yn mynd yn nyts.

**Ydych chi'n hasbeens?**

**RHYS:** I don't like being criticised.

**IWAN:** Na, doeddem ni ddim yn cael cynnig gigs oherwydd bod o ddim yn beth trendi i hoffi U Thant. A beth bynnag, roedd arholiadau yn dod i fyny gennym. Mae'r gigs nawr yn mynd yn bril.

**Beth am yr EP newydd?**

**RHYS:** Mae popeth wedi dod at ei gilydd at yr EP a dan ni'n llawer mwy organised nawr nag yn amser "Bugeilio".

**IWAN:** Ddaru ni ddosbarthu "Bugeilio" i lawer o siopau ond dim ond dwy siop sydd wedi talu arian inni.

**RHYS:** They couldn't give a shit. Mae hi'r un fath hefo'r gigs. Mae pobl isio i chi chwarae am f**c ol. Dim diolch na dim byd.

**IWAN:** Dach chi'n chwarae am ecspenses ac yn gorffen hefo dim.

**RHYS:** Mae hi'n wahanol yn Lloegr. Dach chi'n cael lle i aros, cael tâl iawn ac mae'r gynulleidfa yn troi i fyny i weld y band. Nid jyst am y cwrw.

**IWAN:** Rydan ni wedi gwerthu mwy o recordiau tu allan i Gymru mewn gigs yn Coventry a Birmingham.

**Beth am y sin yng Nghaerdydd?**

**RHYS:** Mae'r sin yng Nghaerdydd wedi gwella. Llawer o grwpiau'n codi yno. Byswn i ddim wedi mynd i gig Cymraeg ers talwm. Maen nhw'n cael gigs yn ysgolion Glantaf a Llanharri rŵan.

**Beth am y dyfodol?**

**IWAN:** Mae Rhys yn mynd i ffwrdd am 4 mis. Wedyn.....

**RHYS:** Basically baswn i'n hoffi chwarae yn yr Almaen.

**IWAN:** Dwi isio'n leotards pinc yn ôl.

**Ydach chi isio dweud unrhywbeth wrth orffen?**

**PAUL (Bas):** Why have I got big ears?

**IAN (Roadie):** F**c off Ian Morris●.

LLYR LLOERIG

Ac yn awr dyma ERYL SCORCHER i son chydig am

# Y DIWRNOD TRODD CYMRU'N DAYGLOW

Mae S4C wedi bod ar yr awyr am saith mlynedd, weithiau mae'n anodd cofio pa mor ofnadwy oedd sefyllfa darlledu Cymraeg cyn 1982 - ugain munud o newyddion pob nos (ag eithrio wythnos Wimbledon os oedden ni'n lwcus). Fe es i ar un o brotestiadau olaf yr ymgyrch dros y sianel ac rwy'n cofio edrych ymlaen yn eiddgar i'r sianel ddechrau ar ôl inni orfodi'r Toris i wneud yr "u turn'. Ond os rwy'n onest mae rhaid imi gyfaddef imi golli diddordeb yn S4C yn sydyn iawn ar ôl imi weld eu rhaglenni cyntaf. (Rwy'n sicr fod yr holl dreialon cŵn defaid yn mynd i lawr yn grêt yn Llangernyw ond.....) Fy ymateb i'r rhaglenni "POP" oedd i weiddi sarhad ar y bocs neu guddio tu ôl i'r soffa gyda embarassment.

H.T.ychaV. oedd prif wrthwynebwyr sefydlu sianel Gymraeg yr holl ffordd trwy'r 70au ond maent wedi gwneud ffortiwn allan o S4C trwy droi allan sbwriel llwyr fel "Sêr", "Larwm", "Heno Heno" a "Stîd". Doedd eu cyfresi ddim yn sal trwy ddamwain - cyflwynwyr anobeithiol fel Jim O'Rourke, Sian James, Aled Wyn a Kevin "Top Shop" Davies, tim cynhyrchu ddaru ffilmio bands fel petaen nhw'n gwneud darn am arddio ac ymchwilwyr oedd yn deall cymaint am fiwsig ac mae'r gweddill ohonom yn gwybod am nuclear physics.

Diolch byth felly am Fideo 9. Roedd eu cyfres gyntaf y llynedd y tro cynta imi wneud ymdrech i diwnio mewn i S4C yn rheolaidd. O'r diwedd cawsom raglen am ein miwsig wedi'i gwneud gan griw sydd â rhyw fath o ddiddordeb a dychymyg. Iawn, dyw Eddie Ladd ddim cweit yn Antoine De Caunes (Boi "Rapido") ac mae'r syniad o fynd â band dramor am un gig artiffisial wedi mynd yn stêl - ond mae'n bleser cael gweld Datblygu yn gwneud tair can ar ol ei gilydd neu Billy Clin ar y tywod. Rwy'n falch i ddweud bod hyd yn oed rhai o'm mets di-Gymraeg wedi ymddiddori, er enghraifft:

"Did you see "Video Nine" the other day. Selif Keita was on, and who were that really young band playing melodicas in the middle of a sewage farm? I liked them."

Roedd hi'n braf hefyd cymharu "Fideo 9" gyda "Snub". Wnaeth Criw Byw sioeau bywiog gyda dim ond llond dwrn o fands Cymraeg tra roedd "Snub" yn cael trafferth i ffeindio rhywbeth o werth gan holl indie-bands Lloegr (gyda llaw roedd gan "Fideo 9" llawer mwy o bres i wneud eu rhaglen na chafodd "Snub" gan BBC2).

Mae'n siŵr fod ymateb y rhan fwyaf o wylwyr arferol S4C i gyfweliad Ffa Coffi Pawb neu'r Fflaps wedi'u lliwio'n day-glow yn "Rhy weird imi" - sydd yn adlewyrchiad o geidwadaeth y gwylwyr yn hytrach na beirniadaeth. Y cwbl fedraf ddweud yw ei bod hi'n hen bryd iddyn nhw eistedd trwy bach o camera angles rhyfedd, rydan ni wedi hen syrffedu ar eu "Siarabangs" a "Pobol y Cwm" nhw.●

ERYL SCORCHER.

# T E I F I   B Î T

◆ Yn ystod y misoedd diwethaf does dim llawer o gigs wedi bod yn yr ardal, ond un ohonynt oedd noson werin yn y Crymych Arms, Crymych gyda MERCHED BECCA a CANOL CALED. Yn anffodus doedd dim llawer wedi troi lan i weld y ddau grwp, beth bynnag mwynhawyd y gerddoriaeth gan y rhai oedd yna, hyd yn oed cwpwl o ffans "canu gwlad"! CANOL CALED ddechreuodd y noson, set amrywiol ond caneuon braidd yn hir, oedd un dros 2 funud! Mae egni a digon o sbort yn perthyn i'r bechgyn hoffus hyn o Boncath ac Abercych a chlywyd nifer o ffefrynnau, yn cynnwys y ddwy gan o'r sengl "Yr Hawl i Fyw" a "Cymdogion", sydd yn gwerthu yn dda iawn. MERCHED BECCA daeth i'r llwyfan am tua 11.30, a braf oedd gweld dilynwyr roc trwm yr ardal yn gwerthfawrogi doniau metalaidd y MERCHED. Roedd y chwarae yn dynn, gyda Nicky Samuel, gynt o Crys, yn arbennig ar y drymiau. Unig gŵyn y noson oedd bod y lleisiau yn aneglur oherwydd efallai maint yr ystafell, ond ta beth am hynny, roedd yn noson hyfryd iawn, ac yr oedd yn rhan o daith fer y CANOLIAID a MERCHED BECCA.

◆ Mae caset newydd JESS - "Y Gath" yn gwerthu yn arbennig o dda, ac mae'r bois newydd droi'n broffesiynol. Mae hwn yn gam dewr o'u rhan a gobeithio byddant yn llwyddo, yn gerddorol does na ddim rheswm pam na ddylent. Gyda gigs ar y gorwel yng ngwledydd Ewrop, mae na ddyfodol disglair o flaen y bois ac amser cynhyrfus iawn. Mae tipyn o feddwl wedi mynd mewn i'r caneuon sy'n cynnwys "Wah" a'r clasur "Prag". Cafodd y band ymateb da yn Roc Ystwyth ac mae nifer o gigs ganddynt dros yr haf.

◆ Yn newydd o Stiwdio Fflach mae "Y Gath" (JESS), "Bant a'r Cart" (ALED SION), a "Rhy Fyr i Fod yn Joci" (AIL SYMUDIAD). Mae nifer o ganeuon cofiadwy gan ALED SION ac yn chwarae fel gŵr gwadd ar y caset mae Yogi (Iwan, gynt o Hairy Gwen) ar y trympet. Mae Aled wrthi ar y funud yn ffurfio band i chwarae'r caneuon ac os ych chi am fwy o fanylion cysylltwch ag ef ar (06784) 300.

◆ Mae AIL SYMUDIAD o'r diwedd wedi rhyddhau eu caset-LP cyntaf ers "Sefyll ar y Sgwar" (1982) er iddynt ryddhau dwy sengl ac un caset fer ers hynny. Paul Predmore, drymiwr dawnus iawn o Hwlffordd, Sir Benfro sydd yn chwarae ar y caset ac hefyd mae Chris Lewis o JESS wedi gwneud gwaith gitar. Ymysg y caneuon mae "Ci Tair Modfedd", "Twangyrs" a "Y Ty yn fy Mhen" (geiriau gan Paul Steffan Jones o Lechryd). Mae 11 cân i gyd ar y caset.

◆ O wersyll CANOL CALED clywyd bod eu taith yn mynd yn dda, dyma'r dyddiadau sydd ar ol:
Gorff 24 - Carpenters Aberdar; 27 - Crymych; 28 - Machynlleth. Awst 3 - Clwb y Rheilffordd, Abergwaun; 4 - Dinefwr, Llanelli; 6 Grand Hotel, Abertawe; 12 - Canolfan Aberconwy, Llandudno; 15 - Clwb riviera, Caerfyrddin; 16 - Great Escape, Merthyr; 22 - Sam's Bar, Caerdydd; 24 - Albert, Caernarfon; 28 - TJs Casnewydd; 31 - Ty Tawe, Abertawe; Medi 1 - Clwb Ifor Bach, Caerdydd; 2 Theatr Mwldan, Aberteifi. Bydd tua deg dyddiad arall.
Yn cefnogi CANOL CALED ar y daith bydd grwp



CANOL CALED

"wiyrd" o Aberteifi o'r enw Y CERRIG MELYS. Bydd mwy o fanylion am y dyddiadau eraill yn y rhifyn nesaf o SOTHACH! Aeth y bois mewn i Stiwdio Sain Abertawe ar y 29fed o Mehefin i recordio sesiwn i raglen Nia Melville "Trwy'r Cymyle" a gafodd ei darlledu ar ddydd Mawrth y 10fed o Orffennaf. Cwblhawyd y sesiwn mewn 35 munud! (Gwir) oherwydd roedd Andrew, y gitarydd a phrif leisydd) eisiau mynd gartref yn gloi i weld "Neighbours". Naughty boy, Andrew!! Mae'r sengl newydd yn y siopau erbyn hyn ac ar gael oddi wrth "Sothach".

◆ Hoffwn i ddiolch i Norman Lewis am fod yn Norman Lewis.

CYFOETHOG JONES.

# BWLITIN BARRI - TY DIOGEL

## LLYTHYR O'R MWG

Mae'r tymheredd i fyny yn yr wythdegau heddiw, mae'r bwsiau a'r trenau ar streic a does neb yn neud llawer o ddim byd -- dwi'n sgwennu hwn mewn sgwat yn y badlands o sowth London ger yr Old Kent Road hanner ffordd rhwng Brixton a'r City of London ac os dwi'n cofio'n iawn oedd yr O.K. Rd yn mynd am, £50 yn y gem Monopoly ... beth bynnag, oedd Marc (Asid) Lugg o Traddodiad Ofnus yn Llundain wythnos`diwethaf yn practisio at gigs yn 'Steddfod Llanrwst a "dangos off" ei feic fflwresent pinc .... 'rwy'n dallt fod Lugg yn rhyw fath o "heart throb" i'r teenibops Cymraeg ..... 'nes i gyfarfod Emyr sy'n chwarae efo Arfer Anfad mewn pyb Gwyddelig dros y weekend, lle roedd grŵp traddodiadol yn cael ei flaenori gan Wyddeles yn chwarae'r pibau Uilleann -- oedd y Guinness a'r miwsig mor flasus , nes i cymyd noson off fel gohebydd, a jyst mwynhau fy hun .... nath Kefs o'r Llwybr Llaethog alw heibio ddydd Llun, ar ei ffordd i weld cwmni recordio Side Effects i gasglu tomen o bres i neud LP newydd ... yn ôl Kefs, maeo'n trio perswadio Criw (hanner) Byw i neud rhaglen yn null y Monkees, efo'r Ll Ll yn y starring rôl ... Hmm ... mae Rhys ("Medru") Mwyn a'r Anhrefn wedi dod i Lundain i chwarae cwpl o gigs, ac i siarad efo canwr yr Alarm .... Anhrefn i syportio'r Alarm ar ei world TOUR nesaf? .... cofiwch lle nathoch chi clywed o! ... ges i siawns i sgwrsio efo Sion ("Toy Boy") Sebon ar y ffordd i Brighton, lle roeddan nhw'n chwarae ar nos Sul ...wel, Sion, beth am y chwedlau sy'n mynd o gwmpas yn deud bod chdi'n mynd i "adael y grŵp i ganolbwyntio ar solo-career?" "O ... wsti Barri, dwi'm yn coelio be' dwi'n gweld yn y papurau newydd, a ddyla ti ddim chwaith!" ... ar ôl hyn nes i roi'r gorau i'r cyfweliad, .... mae Llundain yn dal yn rocio i'r House-bit a dan ni yng nghanol yr "ail haf o gariad" ar y trot efo dim arwyddion o bethau'n newid .... Dwi 'di bod yn meddwl (ond dwi'n gwbod ddylwn i ddim) mae'n hen bryd imi ffurfio grŵp Cymraeg, rhywbeth hefi-metal fydd o - 'Barri a'r Bwlets' neu rhywbeth felna .... fe ddywedodd rhyw dderyn bach wrthaf i bod Gareth Potter, cyn-aelod o Traddodiad Ofnus, yn mynd i siwio'r band, am ei fod o eisio defnyddio'r enw .... mae'r cyrn ceir yn canu tu allan, plant yn smashio poteli ar y palmant ac mae'r sbwriel yn chwythu lawr y stryd .... ac mae hyn i gyd ym Methesda, cartref y Maffia -- lle nath Dafydd (Marina Marina) Smith (Canwr efo'r Achos Da) ffonio fi i fyny i ddeud bod o'n mynd i symud i Lundain, oherwydd mae o'n methu handlo'r "SPID of Leiff" yn y dre ........... cofiwch blantos, os dach chi isho darllen rhywbeth mwy diddorol, sgwennwch golofn eich hunain! .....

Tan tro nesa, dyma Barri B, ffrind y sêr yn seinio off.................

**STOP PRESS:** mae Dewi ("one note solo") Gwyn, o Huw G a DJ Williams wedi cael ei ddal yn samplo recordiau Max ("Boio") Boyce!......ac mae Dylan ("Hip Hop") Hughes o H3 wedi bod yn dwyn llais y Godfather ei hun....... ●

**BARRI B.**

# DYLAN AR YR IWRO ECSPRES



**Mae DYLAN HUWS wedi bod yn brysur iawn ar hyd y blynyddoedd yn waldio'r dwndwr mwya cyffrous o'i ddrymiau hefo'r CYRFF dro'n ôl, yna hefo H3, ac rŵan wrth gwrs mae o'n aelod o'r ANHREFN. Bu SOTHACH! yn ei holi ym mherfeddion tywyll tafarn yr Albert yng Nghaernarfon.**

**Sut mae Dylan?**

Do, naddo, hwyrach, dwi ddim yn siwr, iawn a ddooe. Dwi'n cael andros o gwd laff efo'r Anhrefn. Pob dydd yn brofiad, dim pob tro yn dda. Dwi'n edrych ymlaen at fynd i Ewrop ym Mehefin.

**Pam hynny?**

Dwi wrth fy modd mynd. Mae attitude y Cymry a'r Saeson yn gyfangwbl negyddol. Mae'n warth o beth bod y Cymry mor negyddol tuag at bopeth. Mae pawb yn slamio'r byd pop Cymraeg ond wnawn ni ddim ei helpu o drwy slamio fo.

**Sut fedrwn ni ei helpu o?**

Trwy geisio cael mwy o recordiau allan. Cael mwy o deals efo pwy bynnag sy'n fodlon rhoi recordiau Cymraeg allan. Mae na ddiwylliant yma. Mae o i fyny i'r grwps beidio poeni am eu haroliadau a gwneud rhywbeth.

**Ti'n gweld lot o botensial, felly?**

Mae Cymry'n wlad dalentog o ran cerddoriaeth ee Tom Jones, Shirley Bassey. Dan ni'n wlad o bobl gerddorol ond mae na rwbath yn ein agwedd sy'n ein dal ni'n ôl. Dan ni'n rhy restrained ac heb ddigon o hyder. Mae'r Cymry ar y funud yn gyfangwbl o dan system thatcher. Mewn ffordd mae o fel Gogledd Iwerddon heb y troops. Efallai bod na ormod o Saeson yma i wneud dim byd am y peth. Does na ddim diddordeb yn yr iaith a dydi'r Cymry Cymraeg ddim yn fwyafrif, sy'n biti.

**Be am y gynulleidfa ddi-Gymraeg yng Nghymru?**

Mae cynulleidfaoedd Prydain yn farwaidd i gymharu efo Ewrop. Mae cynulleidfaoedd yn Ewrop yn lot mwy agored, yn gwrando ar y band. Mae na lot gormod o bwyslais ar fod yn cwl ym Mhrydain, y 'depressed look'.

**Y pose.......**

Ia, mae'r Smiths a'r Jesus and Mary Chain wedi malu'r get up and go oedd gan pync roc. Dydi bands sy'n chwarae miwsig bywiog, uplifting ddim yn cael sylw. Mae bands sy'n hitio tin can am chwarter awr yn cael sylw.

Mae na ormod o concept music rwan, sy'n dda ond mae'n well os ydi'r miwsig yn rwbath ti'n gallu dawnsio iddo fo. Mae'r hwyl o fynd i gig wedi cael ei ladd. Oni'n arfer mynd i gigs i fwynhau ac i fi dydi gwisgo mewn du a bod yn depressed ddim yn fwynhâd.

Pan mae craze yn hitio Cymru, dim ond un peth ydi o. Efalla bod pobl ifanc Cymru wedi llwgu ar gerddoriaeth wahanol, ddim yn cael profiad o gigs metal, ska, ffync etc. Pan maen nhw'n mynd i gigs y bands yma sydd mewn du, I'm so depressed ydi hi.

**Efallai bod angen cynulleidfa fwy.**

Lle bynnag mae Anhrefn yn chwarae neith pobl dy gategoreiddio di o ran miwsig. Os ti'n chwarae distorted gitars, maen nhw'n meddwl, oh here we go, pync roc, neu os ydyn nhw'n clywed choppy gitars, maen nhw'n meddwl, o, ia, reggae.

**Be ydi'r ateb i'r rhagfarn yma?**

Dylai pobl fynd i fwynhau band. Dim ots pa fath o fiwsig ydi o dim ond bod rhaid iddo fo fod o safon. Yn Ewrop maen nhw yno efo diddordeb gweld band a mwynhau. Mae o hyd yn let down dod yn ôl o'r Almaen. Ar y fferi mi fydda' i'n meddwl, o no, nôl ym Mhrydain. Dwi'n falch i fod yn ôl yng Nghymru ond Ewrop ydi'r lle am gigs.

**Pwy felly ydi'r anifail mwya yn yr Anhrefn?**

Reit equal. Mae pawb yn y band yn unigolyn. Dan ni'n ffitio'n reit dda efo'n gilydd achos dim gang o session men ydan ni. Dan ni'n deulu bach. Mae hynny'n swnio'n stupid, Dylan gets soft. Mae pawb yn gadael i'r lleill wneud eu bit. Dan ni'n band newydd, ifanc.

**Dach chi'n cael hwyl, felly?**

O, yn bendant o chwarae'r gigs egniol, uchel yma. Mae gigs da hefo'r Anhrefn o hyd yn buzz.

**Be ydi'r cam nesa ar ôl "Bwrw Cwrw"?**

Byddwn ni'n cymryd agwedd neu gyfeiriad gwahanol ar yr albym nesa. Mae gynnon ni acid tracks i'w rhyddhau ar compilation CD. Dydi'r grŵp ddim yn aros yn eu hunfan. Dan ni'n barod i arbrofi.

**Be sy'n gyfrifol am hyn?**

Mae tast cerddorol yr unigolion yn hollol wahanol i'w gilydd. Dwi'n licio Prince, Clash, Enya, jazz, popeth. Mae Rhys yn licio Transvision Vamp, neu mi oedd o... Mae Rhys yn licio dance music a'r top 40. Mae Sion Sebon yn licio soul a Sion Jones yn licio reggae. Cymysgiad bach od. Mae na ddigon o gefndir cerddorol pawb i greu ideas newydd.

**Sut mae'r crisps?**

Mae'r crisps yn neis iawn a'r perrier yn flasus a dwi ddim isio rhannu stafell hotel hefo Sion Jones byth eto. Fi oedd piau'r razors, dwi isio socks fi yn ôl a deud wrtho fo am beidio defnyddio toothpaste fi.

**Be am H3?**

Bydd na gaset newydd H3 allan cyn Dolig ar label TSST ●

GORWEL ROBERTS

# A D O L Y G I A D A U

### CRIW ICON - "Cofio Otis".

Camgymeriad oedd rhoi'r caset yma imi adolygu. O ran cerddoriaeth dwi'n siwr byddai Criw Icon wedi cael gwell adolygiad gan John Griffiths, Llwybr Llaethog. Dwi 'di son dipyn yn ddiweddar am bwysigrwydd y clybiau/disgos i gyflwyno cerddoriaeth dawns newydd. Y ffordd orau o wneud hynny ydi ar record 12" lle mae'r drymiau a'r bâs yn cael chwarae têg; lle mae'r "grŵf" yn fwy a'r sŵn yn uchel ac yn galed.

Mae'r holl syniad o ryddhau casetiau yn wastraff amser - cyfaddawd; holl bwrpas caset ydi cyfiawnhau cloriau cachu a gwerthiant isel - waw!! Gwerthu dau gant caset???????

I be? Pa ddisgo/clwb nos yn eu iawn bwyll sydd yn mynd i chwarae caset hefo hiss a sŵn pwdin?

Mae CRIW ICON wedi defnyddio un patrwm drwm ac un riff bâs dros bedwar mix gyda ychydig o lais a synth yn rhoi melodi gymhedrol iawn drostynt.

Os yw'r caset yma ar werth byddaf yn cynghori pawb i'w brynu a gwneud eu meddyliau eu hunain ynglŷn â'r gerddoriaeth "hip house Gwynedd". Fy hun, doeddwn i ddim yn cael fy "symud" ond fel dwi 'di dweud falle byddai adolygwyr arall yn fwy ffafriol (luck of the draw, boys!)

Y peryg mawr yng Nghymru ydi ceisio cadw fyny hefo Lloegr/USA heb y cynhyrchwyr a'r dealltwriaeth ac mae gennyf gydymdeimlad â hynny ac ar yr un pryd mae unrhywbeth o gwbl yn well na dim gan fod y sin yn dal i dyfu a datblygu....... Rwyf yn croesawu CRIW ICON ar y sin am y rheswm syml yma, ond yn gerddorol efallai bod angen caledu a sgwennu mwy o ganeuon.●

**RHYS MWYN.**

### COFION RALGEX - BILLY CLIN
### "Marwolaeth Rhyfelwr Ninja" (Caset)

Tâp o Gaerdydd, mae'n amlwg o'r cord cynta. Ydi'r "sin roc Cymraeg" yn tyfu fyny pan mae dau grŵp o'r ddinas yn cael eu dylanwadu gan grŵp arall Cymraeg, neu ydi




o jyst yn arwydd o ragolwg cul?

Mae'r ddau grŵp yn chwarae cerddoriaeth eithaf tebyg ond lle mae Billy Clin yn ennill marciau am egni, esgeulustod o'r math gorau, a swnio fel bod nhw'n mwynhau eu hunain, mae Cofion Ralgex yn colli yr un faint am anghofio'r ysbryd. Tro cynta imi gyfarfod Cofion Ralgex oedd ar Bambw yn traethu bod grwpiau annibynol Cymraeg heb hiwmor. Dwi ddim yn siŵr ydw i i fod i ffeindio hiwmor yma, ar wahân i ambell i egwyl offerynnol. Dan ni ar y gân olaf ac ma'r slap bass newydd gyrraedd. Mae Billy Clin yn atgoffa ni y gallem ni fod yn gwrando ar Rick Astley sy'n bwynt reit dda ar hyn o bryd.●

**WIL JONES.**

### LLWYBR LLAETHOG - "Parti Disgo" (Caset)

Tamaid i aros pryd tan yr LP nesa ydi'r caset hwn hefo Llwybr Llaethog yn parhau'r parti hip hop reggae dyb a gychwynwyd hefo "Dull Di-drais". Mae'r gân "Parti Disgo" ei hun yn wyriad i gyfeiriad disgo a pharti low-key braidd ydi hwn, ddim cweit yn taro'r groove anferth asidaidd 80aidd. Dychmygwch John a Kevs yn eistedd yn y gornel yn edrych yn cwl ac yn sipian eu diodydd wrth wylio'r dawnswyr ar lawr y ddawns.

Mae'r ddawns yn dal i fynd ymlaen ar "Fyw dy Fywyd'




ac mae hon yn debycach i be allech chi ddisgwyl gan Ll Ll. Mae bâs Ben Benthum yn byls cadarn a'r band yn trio'n denu i fath o hypno-drans-ddawns. Maen nhw'n llwyddo i ddal pen rheswm hefo'r bit bachog hyd y diwedd ac yn gosod seiliau hedonistiaeth rhythmig.

Ar "Trachwant", sy'n gwneud mwy o synnwyr heb y fideo amherthnasol braidd a welwyd ar "Fideo 9", mae'r sŵn yn caledu, y rhythm yn hercio i ganol y dawnswyr a Kevs yn ymafael yn ei gitar drydan tra bod John yn lambastio cyfalafiaeth unwaith eto. Digon têg i'm meddwl i.

"Gwyliau Jerry Fullwell" ydi'r gân fydd slamddawnswyr Cymru'n disgwyl yn eiddgar amdani er mwyn clywed eu brawd mawr, Bern, gynt o Elfyn Presli, yn lleisio'i farn am ei hoff bwnc sef pam bod tafarnau Porthmadog ar gau ar ddydd Sul. Mae'r rhythm yn cydio ond braidd yn ddiog ydi'r trac rywsut. Mi wnaiff Llwybr Llaethog (a Bern) yn well na hyn yn y dyfodol.

Eniwe, tâp gwerth ei brynu, unigryw yn y Gymraeg.Mas a'r ceinioge nawr go gloi.● **GORWEL ROBERTS**

# A D O L Y G I A D A U

## NEIL ROSSER A'R PARTNERIAID
## "Ffordd Newydd Gymreig o Fyw" - (ANKST 05).

Ychydig dros flwyddyn yn ôl lansiwyd label ANKST gyda tap cynta Neil Rosser. Pum cyhoeddiad yn ddiweddarach dyma fo'n ei ôl ar ANKST 05 hefo lein-yp newydd fel "Neil Rosser a'r Partneriaid". Y tro hwn, mae bâs wedi ei ychwanegu ac ambell i donc ar yr organ geg hefyd. Serch hynny, mae Neil yn dal i ddod drosodd fel "band un dyn plys offerynwyr eraill" yn hytrach na fel "band". Mae'r bâs er enghraifft yn reit bell yn ôl yn y cymysgiad. Falle mai fi sydd hefo peiriant tapiau sal neu falle Richard Morris sydd wedi mynd dros ben llestri o ddeall bod rhai pobol actually isio clywed y geiriau sy'n cael eu canu.




Mae'r caneuon gystal bob tamad os nad yn well ar yr ail dap. Mae taflen eiriau'n amgaeedig y tro hwn, er mai braf yw`dweud bod hi'n ddianghenrhaid ar y cyfan, gan fod Neil ddim yn un am lyncu ei eiriau wrth ganu.
Ac mae'r geiriau'n werth eu clywed neu'i darllen, fel y mynnwch.
Mae'r gan gynta'n delio'n uniongyrchol â'r Ffordd Newydd Gymreig o Fyw, wrth drio dangos faint o'r ddelwedd boblogaidd "indeed-to-goodness-boyo-look-you" o'r cymoedd sy'n fyth a faint ohoni sy'n realiti:

"Lawr yn fy ardal i mae rhai sy'n whare rygbi
yn siarad tactics nos a dydd,
ond mae rhai sy'n whare soccer
a lot sy'n gwneud dim byd.
Lawr yn fy ardal i mae na gore o gantorion
sy'n cyfarfod bob nos Lun
ond mae bingo yr un nosweth
ac mae mwy yn mynd fan 'ny."

Mae'r gan "Clici Cymru" yn cyfeirio at rywbeth sy'n anffodus yn rhan o'r "Ffordd-Bitw-Draddodiadol-Gymreig o fyw, gymaint ag unrhyw "Ffordd Newydd". Mae'n fy atgoffa i'n arw o'r profiad o fynd i'r capel tra yn y coleg yng Nghaerdydd ers talwm. Byddem ni'n sefyll tu allan i'r capel ar ôl y gwasanaeth gyda gwen fenthyg ar ein gwyneba gan drio sugno'n bocha mewn yr un pryd; y gobaith oedd y byddai rhywun yn tosturio atom ni a chynnig cinio i stiwdant tlawd! Yn anffodus, byddai'r sgwrs yn dilyn yr un trywydd a geiriau'r gân bob tro:

"Lle chi'n dod o? Beth yw'ch enw?
Beth ych chi'n wneud?
Ych chi'n bwysig? Ych chi'n enwog?
Siaradwch lan nawr, beth ych chi'n gweud?
Ych chi'n nabod....? Ych chi'n perthyn...?
Beth yw'ch hanes chi?
Mae'n bwysig iawn i gael y manylion cyn
penderfynu'ch anwybyddu chi."

Gyda "Meddwi Gormod" mae Neil yn dychwelyd at bwnc a ddychanwyd mor effeithiol ganddo yn "Arwyr Alcohol". Yn anffodus dyw o ddim mor llwyddianus y tro hwn, a dyma gan wanna'r tâp gen i; dyw'r geiriau na'r alaw ddim mor afaelgar rywsut a chaneuon eraill y tap.
Yfed sy'n mynd a'i fryd ar gan ola'r tâp a'r gân orau gen i o blith pump o ganeuon da. Mae "Nos Sadwrn Abertawe" yn disgrifio'r profiad sy'n dod i'n rhan ni i gyd rywbryd neu'i gilydd. Chi'n cyrraedd parti yn hwyr ac mae pawb yn rhacs eisioes... neu dach chi'n sobri hanner ffordd trwy sesh... a dach chi'n gofyn i chi'ch hun - "Pam?"
Dwnim beth ydi'r ateb, os nad y "Ffordd Newydd Gymreig o Fyw" ei hun efalle? Felly, neges i chi'r aboriginals Cymraeg allan fanno ar y reservation. "Prynwch hwn - a barnwch dros eich hunain."●

**IFOR AP GLYN.**

## CRUMBLOWERS - "LLITHRO MEWN I FFANTASI" (HEADSTUN 12").

Mehefin 1af. Y papur newydd yn cyflwyno George Bush yn galw am ddileu Clawdd Berlin. Mae hefyd yn addurno clawr blaen record 12" newydd y Crumblowers. Mae'r cynnwys yn trafod problemau ac ofnau bywyd dyddiol ond o leia mae'r caneuon yn awgrymu ychydig mwy o obaith na geiriau'r arlywydd.
Ar ochr un dan ni'n clywed canlyniad chwarae nifer o gigs, grŵp sy'n swnio fel grŵp byw, ond hefyd yn barod i arbrofi chydig gyda'r sŵn, yn arbennig gyda'r ddau gitar a'r lleisiau ychwanegol. Lot o felodi ond ymyl cras hefyd. Brilliant.
Mae'r Crumblowers yn llithro mewn i ffantasi eu dylanwadau ar ochr dau. Mae "Wyth" yn swnio fel bod o wedi syrthio'n ddamweiniol oddi ar "Bend Sinister", nid bod hyn ddim gwaeth-gwell na grwp hip hop yn samplo oddi ar records James Brown. Er gwaetha hyn mae aeddfedrwydd cerddorol y grŵp a sylwadau Lloyd yn ddigon i ddal diddordeb.
Mae "Archesgob" siwr o fod yn gyfarwydd - fersiwn Criw Byw. Mae popeth sy'n cynhyrfu yn y tair cân cynta wedi mynd ar goll yn fyma, jyst arwydd o symud ymlaen efallai. Gwerth prynu'r record am ochr un yn unig.●

**Y LLEWPART PLASTIG.**

GRWP FIDEO MERCHED

# GWENNOL

TRAFODAETH

'DELWEDD Y FERCH AR S4C'

PABELL Y CYMDEITHASAU

PNAWN LLUN AM 3.00 p.m.

GALWCH I MEWN I'N GWELD AR Y MAES!




Yn perfformio

**'YN GYMYSG OLL I GYD'**
gan JAN ROBERTS

**'TRI MUNUD'**
gan LLIO SILYN

YN Y VICTORIA, LLANRWST
am 5.45
DYDD LLUN, MAWRTH, IAU
a GWENER.

HEFYD Y RIFIW
GRAMOGUSANWYR MYN UFFARN I
DYDD SADWRN am 5.45




**BOB DELYN A'R EBILLION**
AR EU CASET
CYNTA CWBL SBONDONICS
**"CROESO I'R CRAC CYMRAEG!"**
ALLAN RWAN AR
LABEL 'BOG OFF FOLKIES'
HEDONISTIAETH CELTAIDD HEB EI AIL.

CASET CYNTA CRAI!

# " Y CYNGHORWYR "

**CRAI C01**

GWYNT O'R MOR • PWY YDI PWY?
YR YNYS • CAERNARVON & DENBIGH
WAGAN 29 • TREN OLA • LOS AMIGOS
COD DY BEN • TED MOULT
YSTLYMDDYN • HAUL AR AFON
YN FFASTACH

YN EICH SIOP (AC AR Y MAES) ERBYN
Y STEDDFOD
-a lot mwy i ddod.......................

(0286) 831 111

# A D O L Y G I A D A U

**Y CELFI CAM- "Crefftwr wrth ei Waith"**
**(Cyhoeddiadau Groucho neu Marx).**

Cefais afael ar dap ysbrydoledig Norman Lewis ar hap a




damwain. A son am grefftwr wrth ei waith, ysblennydd. Y mae'r canu neu gyfres o synnau, os y gallwch ei alw yn hynny yn HOLLOL wahanol, beth bynnag!
Gyda fersiynau newydd iawn o'r "Dref Wen", "Dawnsio ar Ben fy Hun" a "Lawr yn y Gwaelod" yn ddadansoddiad rhyfeddol o'r clasuron yma. Yn gryno, felly, y mae safon y gerddoriaeth yn swnio fel bod hogyn wyth oed newydd gael anrheg penblwydd o echo box a sampling machine. Hei lwc oni fuase gen i rieni tebyg. Ond wow Normi, mae'n amlwg dy fod wedi treulio eiliad yn llunio'r tap yma. Brysiwch allan i'ch siopau , diolch i Dduw fydd o ddim yno.●

**PRYS HYWEL a MERERID AP HAF.**

***Mae'n ddrwg gennym siomi Prys a Mererid ond bydd "Crefftwr wrth ei Waith" yn y siopau drwy wasanaeth dosbarthu Cytgord - Gol***

**BOB DELYN A'R EBILLION**
**"Croeso i'r Crac Cymraeg" (Bog Off Folkies)**

Ai dyma'r ateb i'r cwestiwn cosmig Pan Geltaidd? Wel,




mae'n bendant yn ymdrech lew i roi cic yn nhin cerddoriaeth werin Gymraeg a'i dynnu gerfydd ei wallt i'r ugeinfed ganrif.
Baled ysgafn, fodern a hynod o ffraeth ydi "Gwyddel yn y Dre" a'r gan yma sy'n estyn y croeso heintus i ddilyn Jonjo O'flaherty ar drywydd meddwol a gwallgo' y crac. Twm Morys, y telynor, sy'n canu ac yn chwarae'r organ geg, ac mae hwn ynghŷd â gitar y cyn Gamel Fflat, Gorwel Roberts, yn adleisio rhywfaint o ddyddiau "gwerin" cynnar Bob D arall. Ond yn sydyn mae'r tempo'n codi a'r tiwn yn newid i ddawns sionc draddodiadol, "Pant Corlan yr Ŵyn".
Addasiadau o ddawnsfeydd traddodiadol ydi dwy o'r caneuon eraill ond fy hoff gan i ydi "Blewyn Glas", cyfres o hen benillion wedi'u gosod i felodi wreiddiol hudolus gyda Dafydd Watts yn arwain yn fedrus ar y pibau Gwyddelig (y gath! i chwi buryddion) - ail wynt i hen eiriau.
Mae'r canu a'r chwarae, a'r amrywiaeth o offerynnau, yn ddeheuig ofnadwy a trist yw deall fod tri o'r aelodau (Dafydd Watts, Paul Gould ac Owain Glynne Davies) bellach wedi gadael i ffurfio grŵp gwerin newydd, "Yr Holl Gybol". Yn ôl pob son maen nhw'n teimlo fod Bob Delyn yn dechrau gwyro gormod o lwybr cul y traddodiad.
Ond i'm meddwl i dyna gyffro'r grŵp. Mae'n fwy na chanu gwerin, mae'n ddadansoddiad cyfoes o draddodiad cerddorol - yn win newydd o hen gostrel. Mae na ddigon o win tebyg wedi llifo erioed yn Llydaw a'r Iwerddon ond prin iawn ydi o ffordd hyn. Yfwch o, mwynhewch o, meddwch ac ymunwch yn y crac.
Wrth sgwennu hwn mae Bob Delyn ar fin gadael am daith fer rownd bariau Llydaw. Braf eu byd, ie braf iawn eu byd a hir oes a iechyd da (a yec'hed mat a slainte) i'r crac Cymraeg.●

**GYS.**

**MARWNAD - "Er Cof"**

Calonogol iawn ydi gweld grŵp newydd yn mentro i'r stiwdio mor gynnar yn eu gyrfa - enwedig o ystyried y cynnyrch hwn. Grŵp o Gwm Rhymni yw Marwnad er mai Cerdd Cwm Cynnon yw'r label.
L. P. caset 10 cân yw 'Er Cof' sy'n cynnwys amrywiaeth o ganeuon ffync, roc a reggae reit gytsi (rhyw fath o groes rhwng John Grindell, Hergest a'r Trwynau Coch)!. Mae'r sain yn dda ( ar wahân i'r drymiau) ac mae llais a geirio Iestyn ap Dafydd yn dreiddgar ac effeithiol. Ef ynghŷd â Gwynfor Rees yw awduron y caneuon.
Er nad oes gan Marwnad gymeriad cerddorol pendant eto, mae eu cynnyrch ar yr L. P. yn aeddfetach a mwy safonol na llawer o'r grwpiau newydd eraill. Rociwch ymlaen Cwm Rhymni.●

**DAFYDD RHYS**

# Annwyl Sothach........

**Mae croeso i chi ymateb i unrhyw beth sydd yn ymddangos yn SOTHACH drwy lythyr ac ni chyhoeddir enwau na chyfeiriadau os dymunir ond mae'n angenrheidiol eu cynnwys.**

***Mae na nifer o pop stars dig yn y golofn lythyrau y mis hwn. Mae sylwadau rhai o gyfranwyr ANNWYL SOTHACH wedi eu cythruddo tu hwnt i ebargofiant. Felly, i ddechrau, John Griffiths, Llwybr Llaethog, cym on down!!!***

Annwyl Wyn Griffiths (Annwyl Sothach, Mehefin 89),

Be sy'n rong efo bod yn "chwil gaib" wrth roi cyfweliad ar Fideo 9? Be fysat ti'n neud? Siarad yn ddifrifol am hanner awr, yn trio esbonio'r miwsig!?! Mae'r holl syniad o siarad am dy fiwsig dy hun ar y bocs yn stiwpid - os ydi rhywun eisio gwybod am ein miwsig - prynwch-dwyn record!
Eniwe, i ateb rhyw lythyr yn "Sothach" mis Mai; dan ni YN gallu chwarae yn iawn; a dan ni'n gwario unrhyw bres dan ni'n gael ar amser yn y stiwdio, ac nid ponsi sequencers aballu!
Yr eiddoch yn gywir,
John G ar ran Llwybr Llaethog.
O.N. Mae na lot o bobl ar y sin pop Cymraeg sy'n cymryd yr holl beth (sef bywyd) yn rhy ddifrifol!

***Diolch John a mlaen â ni rwan heb oedi dim ac heb wastio amser o gwbl at yr all bop star yn ein colofn lythyrau anhygoel. Ann Fflaps, ddus us ior big jans...***

Annwyl Sothach,
Efallai dydy pawb ddim yn hoffi Rhys Mwyn ond y ffaith yw bod o wedi newid y sin gerddorol yng Nghymru yn llwyr.
Roedd Rhys yn casau'r hen sin felly cododd oddi ar ei ben ôl a chreu sin newydd gan weithio'n galed am yr hyn oedd o'n credu ynddo. Dydy o ddim yn gwastraffu oriau'n ysgrifennu llythyrau hir cwynfanus negyddol. Os dydych chi ddim yn hoffi'r sin gwnewch rywbeth pendant nawr!
Ann Matthews, Y Felinheli, Gwynedd.

***OK pop stars, dyna ddigon am y tro. Mi ddown ni'n ôl atoch chi yn y man. Mae awdur y llythyr nesa'n poeni am bethau pwysicach na'r "sin roc Gymraeg"...***

Annwyl Llyr,
'Rwyf yn ysgrifennu atoch i ddiolch o waelod fy nghalon am gylchgrawn mor raenus a safonol.

'Rwyf yn wraig feddw fethedig gyda naw o blant anghenus yn trio 'ngora i grafu bywoliaeth yn gwerthu pinau a chnau mwncis. Heblaw am atgofion hyfryd am
y diweddar Lloyd George a dihangfa gyson y botel gin
eich cyoeddiad peraidd a goleuedig yw achos yr unig lygedyn o hapusrwydd ddaw i'm rhan.
Beth am fwy o hanes Trebor Edwards - 'roeddwn i yn yr un diosbarth yn yr ysgol a'i nain.

Daliwch ati gyda'r gwaith da Llyr a diolch unwaith eto am lesteirio ychydig ar fy nhristwch enbyd.
Yn gywir,
Arianwen Hughes (Ms)

O.N. 'Rwyf yn sicr eich bod yn wr ifanc meistraidd ac amryddawn a buaswn wrth fy modd yn eich cyfarfod rhyw ddydd.

***Hmmmmmm..........***

Annwyl Sothach,
Rwyf fi ar ganol cynllunio crysau-T atal hela yn yr iaith Gymraeg. I wneud hyn mae rhaid imi hel tua £100 er mwyn printio a hysbysebu. Oherwydd bo' fi dal yn yr ysgol mae y mater o bres yn achosi problemau felly os oes gennych ddiddordeb mewn atal hela a'r iaith Gymraeg efallai bysech yn medru rhoi cyfraniad bach neu mawr. Byswn yn ddiolchgar iawn.

Mishel Gruffudd, Rhayader, Y Fron, Aberffraw,
Ty Croes, Mon.

***Ac yn awr at ein gohebydd rhyngwladol draw yn Israel o bob man...***

Annwyl Sothach,
Dwi'n sgwennu atoch oherwydd i Rys Mwyn (o Anhrefn a'r cylchgrawn "Macher") argymell imi gysylltu â chi i gael gwybod mwy am y sîn Gymraeg. Wnewch chi sgwennu a gyrru unrhywbeth sydd a'i

wnelo a'r sin Gymraeg ataf, os gwelwch yn dda.
Diolch.
Federico Gomez, Kibutz Lehavot Habashan,
D.N.G.E. 12125, Israel.

***Cyfieithiad o'r Saesneg yw'r llythyr hwn rhag ofn i Federico gael cannoedd o lythyrau Cymraeg fedar o mo'u deall. Yn y cyfamser mae llythyrau'r pop stars yn dal i lifo i mewn. Y diweddara ohonyn nhw i daro heibio i leisio'i farn ydi Sion Jones, gitarydd gwefreiddiol gwych efo'r Anhrefn a Maffia. Phiw, roc 'n' rol...***

Annwyl Sothach,
Diolch byth bod basdads S4C wedi newid eu meddyliau!! Ymlaen i'r Gymru newydd! ***(Ai cyfeiriad at helyntion y Sgrin Roc ???- Gol)***
Dwi'n methu mynd i gysgu felly dwi wedi penderfynnu sgwennu tipyn o falu cachu i "Sothach" - pwt am y busnes treth incwm i fandiau ifanc, boring ond mae Maffia yn dal yn cael hassles tax.

RHYBUDD I FANDIAU: Os ydych chi wedi ymddangos ar y teledu ma' na beryg y bydd bil treth incwm yn landio yn eich ty rywbryd yn y dyfodol. Yndi - ma' bandiau hefyd yn cael eu taxsio(!) Y rheswm dros hyn yw bod cwmniau teledu fel arfer yn gorfod hysbysu'r pobl tax am unrhyw daliad y maent yn gwneud yn ystod y flwyddyn ariannol - felly ma'r pobl treth yn gwybod faint o bres mae band yn cael ei dalu.

£500000000: Mae'r pobl treth incwm yn asesu enillion rhai bandiau (yn enwedig y rhai sy'n ymddangos ar y TV yn reit aml) ac yn gwneud amcangyfrifiad uchel (iawn) o'r swm maent yn tybio ma'r band wedi ennill drwy chwarae gigs a TV yn ystod y flwyddyn ac yna'n gyrru bil anferth i'r band. (Ma rhai bandiau dwi'n adnabod wedi derbyn biliau gwych fel £4,000 am flwyddyn!! - a hwythau dim ond wedi chwarae tua 25 o gigs ac wedi bod ar y teledu unwaith yn unig!)
DAU ATEB: Cadw accounts a receipts ayb - boring a poen yn din - ond yn werth ei wneud. Rhaid profi nad yw'r band wedi ennill digon o bres i dalu treth a bod pob ceiniog yn mynd yn ôl i fewn i'r band ("running costs") yn hytrach na'i fod yn elw. Gallwch wneud un o ddau beth:

1) Mynd i'w gweld nhw yn y swyddfa dreth.
Gwnewch yn siwr eich bod yn edrych yn dlawd ag angen bwyd yn ofnadwy - gallwch wneud hyn trwy wario eich pres dôl i gyd ar ffags a cwrw a peidio bwyta dim byd am wythnos! Na, ond o ddifri, dangoswch "expense account" y band iddynt - sef faint o bres ydych chi'n ennill (Peidiwch son am gigs o gwbl os yn bosib) ar y teledu a faint ydach chi'n wario ar logi fan, pres petrol, offerynnau newydd ayb. Rhaid i gyfanswm yr expenses fod yn ddigon uchel neu bydd rhaid talu'r gwahaniaeth weithiau.

2) Yr ail ateb yw rhoi eich (false) receipts i accountant a talu fo/hi am sgwennu accounts proffesiynol i chi. Dyma'r ffordd orau i ddelio efo'r sefyllfa gan fod accountant da yn gwybod sut i gau ceg y dyn treth - dyna ei waith!
Tydi talu accountant ddim yn rhy ddrud o'i gymharu a talu'r bil treth (tua £90) ond mae o dal yn lot i gerddor tlawd!

FILOFAX: Y peth pwysicaf i'w gofio ydi cadw trefn ar accounts y band o'r cychwyn (cadw nodyn o faint o bres sy'n dod i fewn o faint ydych yn gwario. Yn enwedig efo pres TV.

Felly ewch allan i brynu filofax neu, ar y llaw arall, taflwch y biliau i'r tân/bin - ond peidiwch â dychryn gormod pan mae'r debt collectors yn galw heibio a rhoi price tag ar eich getto blaster neu mynd â'ch gwely i ffwrdd am beidio talu'r bil treth - a maen nhw'n ddynion mawr hefyd!

Sion Jones, Lle Bynnag.

***Diolch, Sion, am dy gyngor prydlon, ystyrlon, call.***

**Ond rŵan, dyma gyfle i unioni cam a wnaed â Mr Stuart Frankel yn "Sothach" dro yn ol. Mae'n debyg inni gam argraffu ei gyfeiriad yn "Annwyl Sothach" felly dyma fo i chi yn ei holl ogoniant.**

**CYFEIRIAD STUART FRANKEL!!**
**Stuart Frankel, 184 E7TH 13, New York,**
**NY 10009, USA.**

**Mae Stuart yn awyddus iawn i lythru efo dilynwyr y sin roc yng Nghymru, felly dyma'ch cyfle i gael penfriend yng Ngwlad Wncwl Sam.**